ach galuchun, ond chuchui a Phaeliuch os chuychi a bresumia o honoch ychunain: Os chuychui a bresumia o hono esy'rhun i'r ydych yn guneynthyd aduned, chui a cyflaunuch yn sur, ag meun man aral, Happys yu'r angen, yrhun sy'n cympel i uneythryn uel. *Aug. li. de confess. 6. & 8.*

---

D. mae yn gryno. Sum yr hol adysc uchod?

A. Y mae'n rhaid cyfeirio hyny a dyuaedasom mi hyd yn hyn yn syr, fal i'r amcanasom at hyn o benod, fal y galo'r ancysediguelod dysc gatholig diamheus ynghylch saith rinued yr Egluys: yrhain a ranuyd yn duy ryuogaeth. Canys rhai o honynt megis y pumb cynta sy'n rhoi cynyd, ag yn helpu iechyd pob Cristion ol, Ond erail sef y duy dyuaethaf sy'n guasnaethu i amlhau pobl duu a guasnaethuyr yr Egluys, ag y mae'nt yn duyn i ben y dau beth yma druy ordinhad duu sy'n augenrhaidiaul Canys druy fedyd ef an ailenir ni y fouyd ysbrydaul syn Iesu Grist, a'r Bedyd escob sy'n rhoi muy o nerth a chryfdur idyn uedi i aileni *Ioan. 3.*
Rhinued yr Alor syd fuyd a diod, a thaithfuyd i dyn, yn i berindotaeth yn y byd yma. Penyd *Tit. 3.*
syd fediginiaeth yn erbyn pob Clefyd yr

enaid, ag a agyfyd dyn uedi ido syrthio ag ai
Act. 8. hiachafuedi i friuo. Mae'r Oleu yn calyn, yr-
hun yn yr ymdrech dyuaethaf yn erbyn augau
Ioan. 6. sy'n cadu ag yn cysegru dyn urth fudo odiyma,
uedi y mae'r urde yn rhoi guasnaethuyr i'r E-
gluys, i fod yn bena ar y pethau sacraidi arluy,
Ioan. 28. i lyuadraethu, i gadu, i arfer yn gyfraithlaun
bob peth a dyuaedasom i uchod, Ag yn diuae-
thaf y mae priodas yn Amlhau Cristuogion
ag yn fediginiaeth rhag annuairdeb, fel yr-
Ezec. 16. hain ydynt yr eliau ag mediginiaethau duuiaul
a ordeiniaud y Samaritan a oed yn laun truga-
red, ag a orchmynod i benaethiaid yr Egluys,
i lyuodraethu ag i iachau Cleifion, S. Pob
Pechadur yn yr Egluys fal y galant huy os my-
Tit. 1. nant gael guir a Pherphaith iechyd, ag nid
ydiu yn bunc celfydyd dyn, Ond o doethineb
Iacob. 5. Cristnogaul, y adenabod yn iaun cymeryd yn
iachaid, a rhanu i erail yn Phydlaun yr eliau
yma, gan dyuaedyd o hommi digon hyd yn hyn,
Ephes. 5. ynghylch doethineb Cristionogaul, megis y ro-
ed naturiaeth y dosparth yn gofyn, madus yn
belach fyned at yr han aral i'r dosbarth yma
sy'n egluro cyfiaunder Cristinogaul.

ECCLESIASTICI IIII.

*DOethineb sy'n Anadlu bouydyu i Plat, dagyn croesafuy Saul sy'n guilio am dani hi, ag a gerd oblaen huynt rhyd Phord gyfiaunder, a'r neb sy'n i charu hi, sy'n caruye i fouyd.* 1. Cor. 1. Luc. 12.

---

*DOSPARTH AR GYFIAUNder Cristionagaul.*

D. *Pa rhyu bethau sy'n per thyny a gyfiaunder Cristionogaul:*

*A. fod yn fyr. Dau beth a rhain a gynuy sir yn y gairiau yma: Gochel drug a guna da? megis ac ymae Esaias yn dyscu, Gorphouys yn guneythyr drug a dyscuch uneythyr da, yn gynta sy'n sefyl urth adanabod, a gochelyd pechodau. Canys yntuy yu'r drug muyaf a al damuain i dynion yr ail a gyflaunir urth chuenychu a dylyn guaithredoed da, Ond cyn galu o honomi gyflouni'r duy ran yma o gyfiaunder, rhaid ini bob amser urth y gras a enilod ag aduuod Crist ini: pen el y gras hunu o'r blaen a helpu, ef a cuppleir hyny a dyuad Ifan, y neb au-* Psal. 36. Esa. 1. Rom. 7.

Ephes. 1. nel gyfiaunder ſyd gyflaun, megis hefyd ymae'-
Matt. 11. ntuy'n gyfiaun a thrachefn y neb a unel pechod
Ioan. 15. yſyd o diaul.
1. Ioan. 3.

Beth yu pechod?

PEchod (med S. Auſt.) yu euylys i dal ne i gael y peth y mae cyfiaunder yn uahard, ag y ſyd fal i gellir, ymgadu rhagdo. A S. Ambros ſy'n dyuaedyd Pechod yu toriad cyfraith duu n' anufuddod i gyfraith nefaul.

Aug. li. 1. retracta.

Lib. de Paradiſo.

D. Peſaul rhyuogaeth o bechodau y ſyd?

A. Tri Cynyrchaul, Maruaul a Madaul, yn gynta yrydym yn galu pechod cynhyrchaul, y pechod hunu a doualtuyd ynomi druy Ada yn hen dad, y cynta o genedl dyn Pen y cyngaphuyd ni. yrhun aydys yn i lanhau druy fedyd ynghriſt, o hun yma y mae S. Paul yn yſcrifenu felyn Druy dyn (med ef) i'r entriod pechod i'r byd, ag angau druy bechod, ag fely yraeth angau dros bob dyn, o heruyd pechu o baub ol, A thrachefn urth dyuaedyd urth yrhain a darfaſau i Bedydio i dangos udynt fod grym Bedyd Criſtionogaul uedi i cſtyn

Aug. in Eucher. cap. 64.

Cōc. Trident. Seſ-ſion. 5.

ag yn credyd i lanhau y pechod yma megis, ag y mae'n testiolanthu y olau, ef ach golchuyd, ef ach santaiduyd, ef ag ach gyfi...uydyn enu n' Argluyd ni ag a chen ysbryd duu.

Pechod maruaul su (megis y dyuaedant) guaithred i didymu dyn o fuuyd ysbrydaul, ag yn Angau i'r neb a becho: yrhun Angau sy'n 1. Cor. 6.
didoli dyn odiurth duu ai deyrnas, ag yn peri ido haudu pœnau traguydaul, ymae'n yscrifenedig, gobruy Pechod yu angau, a'rhain enuyrys, druy lau a gairiau, ydynt yn i alu athuynt. Pechod madeuaul hefyd yu guaithred, hon nid yu yn guney hyr duu yn Elyn ini, am hony mae'n haud i'rhai Phydlaun gael madeuaint Ad Gal.
gan duu, ynghyleh hun yrydys yn ymuyl, Os 5.
dyuaedun nad ydym yn pechu yrydym yn tuylony hunain, ag nid oes mor guirionedynomi. Apoc. 21.
Canys Iagob sy'n cyphessuyn olau, meun lauer Sapient. 1.
o bethau yrydym i yn cuympo, ag os tybiun, y- Aug. lib.
gur doeth cyfiaun, sy'n Cuympo saithuaith yn 3. con. onas
y dyd ag yn ailgod, Canys ymae'n eglur, fod un epist. Pelagij.
pechod yn fuy na'r lal. hefyd ymae'n Adas i
gyfiaunder dyn, eythr hefyd i gyfiaunder duu Ioan. 19.
amhyny y mae Crist yn guneythr rhagoriaeth
rhung y neb sy'n pechu druy uybod, a'r neb sy'n Aug. lib.
Pechu drouy anuybod arguas hun (med ef) a 21 de ciuitate &
uybyd euylys i Argluyd ag ni'm baratodi una- serm. 18.
ethyr i euylys ef a faedir a lauer o uialenotau: de verbis Apost.

Eythr hun nis guybu ag aunueth y pethau a oedynt yn heudu guialenotau, ag a faedir ag y chedig uialentau, yrun hefyd (pen y mae'n cymuyl ynghylch pechod airadau, sy'n barnu felyn, puy bynag a digia urth i fraud a fyd euog o farn, a phuy bynag a dyuaeto urth i fraud Racha, a fyd euog o gyngor, a phuy bynag a dyuaeto hi ynfyd, a fyd euogodan uphern, arol grad pechod, gan dyuaedyd arol gairiau S. Gregori, fod trefn ag order Barnadigaeth yn i muanegu, megis fod digofaint heb laferyd gairiau, uedi i ordeinio i farnedigaeth, a digofaint druy laferyd, uedi i farnu eusus, Ond digofaint druy laferyd ymadrod, a farnuyd i dan uphernaul.

Mat. 5.

Greg. 21. Moral. ca. 5.

Aug. in li. 1. de sermone domini in monte ca. 19.

---

D. Paham y mae rhaid gochel pechod?

A. Yn gynta o heruyd na orchmynod duu i neb uneythyr drug ag ni rodod i neb amser i bechu, Eythr cassau'r cubul y syd yn guneythyr enuired, megis ag y mae'r Scruthur lan yn testiolaethu yn olau, ag nid oes dim gasach gen duu na phechod, hun sy'n caru pob peth ar y syd, ag nid yu yn erlid nag yn Cassau dim onid pechod, ag nid yu yn peidio ai gasau ef yn y nef ar dacar. Pechod megis ag y mae'n

Eccles. 15.
Psalm. 5.
Sapiēt. 14

heunys ag yn ag phiaid a fu achos i Grist yn arglwyd hun i rioed ni unaeth bechod gael i groeshoelio a godef marfolaeth chuecruaf ol, Canys ef ai archoluyd am yn camuedau, ag ai dryliuyd am yn enuiredau ni Cosbidigaeth yu'n h' educhni, a roduyd arno ef i athruy i glaisiau ef yr iachuuydni, ag ef a rodod yr Arglwyd yn hol enuired ni arno ef ag efyu r' iaun dros yn pechodau, ag nid tros yr eidomi yn unig, cythr dros bechodau'r hol fyd, ag o heruyd hyn ef a lanhad yn pechodau ni ai uaedhun, puy bynag druy fedyd a gydgladuyd gidag ef hyd faruolaeth ag o heruyd i maru i bechod, ymae'n tuy n' buu i gyfiaunder druy fuu yn uastadaul druy i ras ef meun neuyddra buched Ond y rhain a derbyniasont ras Iesu Grist, unuaith druy fedyd ag a bechanb drachefn yn euylyscar, y mae'ntuy yn pechuyn erbyn Crist, yn erlid Crist, yn croeshoelio Crist ailuaith, ag agant i cosbi gen Grist yr ustus cyfiaun, dim lai n'ar anphydloniaid drugionys, ne'r paganiaid, Canys fel y ymae S. Paul yn dyscu, os o'rguaith diodef y pechū yn ol derbyn guybodaeth y guirioned, nid oes muy aberth uedi dros bechodau, aruthiad dysguyiliad barn, ynghylch yrhain y mae peder Apostol yn cymuyl Canys guel a fiasau udynt na uybiasent phord y cyfiaunder, na guedi i guybod,

Bernerd. Ser. 3. de natiuitate domini.

Esa. 53.

Rom. 6.

1. Petr. 2.

tilio odiurth y gorchymyn ſantaid a roduyd i
dynt, am hyny yrhun ſy'n tybied i fod yn ſeſyl,
edryched na ſyrthio, Canys druy ſyrthio, y
dyuaethaf ſyd uaeth na'r cynta, heb lau hyny
rhain ſy'n pechu ag yn guanethyr enuired ynt
elymion yu enaidiau i hunain, o choeliun i Ra-
phael: dyn druy drugioni a lad i enaid i hûnan,
ar enaid a becho hunu a ſyd maru Ag yn uir
nid oes dim muy afluydianys na'r farufolaeth
yma, pen fythodyn uedi oyſcaru yn draguy-
daul odiurth gymdaithas yr hol ſaintiau, o-
diurth lauenyd a didanuch yr angelion ar hol
greaduriaid neſaul, Ag yn y diued o diurth i
daioni pena a thraguydaul, druy uybodaeth a
muynhad yrhun y mae hol, iechyd apher-
phaith deduyduch dyn yn ſeſyl, heb lau hyn y
mae naturiaeth a malingdra pechod y cyfryu
beth, megis nad yu yn unig yn guahnu yrhai
cyfaun odiurth duu ag odiurth ras duu ai ogo-
niant cythr hefyd ymae'n guneythyr yn ſufie-
dig i dirfaur a thragouydaul ofidiau yn gyſtal
i'r corph ag y'r enaid ag nid yn unig yn i guney-
thr yn afluydianys yn y byd yma, eythr hefyd
yn y byd ſy'n dyfod, fal guedi udynt dyfod dan
iau a chaethiuaed y cythreliaid, ſy'n cael i bar-
nu i boenau toſtyraf ag i bob drugioni yn dra-
guydaul o heruyd hyny y mae'n rhaid marcio
Exod. 14. yn yr ſcruthur lân ſamplau'r y pechaduriaid
yrhain

*yrhain a gosbuyd ag a geryduyd am i Pechodau, megis Cain, Pharo, a Nabuchodonosor, y Sodomithiaid yr Iphtiaid, ar Israelitiaid ag erail, drugioni yrhain, duu gyfiaun druy lauer ag amryu fodion, ai cosbod yn drumyn yr phynyd ymae'n rhaid ini nodi y Sentensiau yn y Scruthur lan yrhain sy'n adyscuni i ochel ag i Phiaidio brunti a phla pechod, megis y neb a becho syd a ltud i bechod, Cas gen duu yr enuir ag enuired pechod aunaf y boblyn drapherthys ag yn druanaid, pho rhag pechod megis rhag Sarph, o heruyd nadyu duu yn euylysio enuired, y drug nithrig gyda thi, arhai anghyfiaun in safant yn dy olug, y neb pechu meun un peth, a gyll lauer o daioni, medulani d'argluyd duu yn dy hol dydiau, a gochel fyth gyttuno a phechod, ag nag sclusa i orchmynion yn duu ni, y Siamplau a'r ymadrodion yma sy'n tynu, i beri i dyn gydnabod, fod duu yn dialur, ag yn gosbur, cyfiaun ar bechodau, a chan gydnabod, yn peri ido ofin, a thruy i ofui, fod yn dyfal oi salfadigaeth, a thruy fod yn ofalys diaint rhag erchiynedig gosbdigaeth pechod, aml yu phreuilau y pechad uraid.*

*Dan.* 4. *Exod.* 7. *Ioan.* 8. *Sap.* 14. *Psal.* 5. *Tob.* 4. *Psal.* 5. *Aug. li.* 1. *de serm. Domiui. ca.* 13. *li.* 12. *de Trinitate. Gregor. Hom.* 16. *in Euang. lib.* 4. *moralium c.* 27.

D. Pa Phord sy'n touys dyn i Sybil Pechod?

*Aug. de Serm. domini in monte & li. 12. de Trinitat. & ca. sicut de Penitentia. Dist. 2.*

AR hyd tri gris yn benaf, y doir i bechod, S. yu lythiant, dileithuch, a synniad, lythiant yu pen ynomi fedul drug, druy brofedigaeth y byd y Cnaud, a'r cythrel, dileithuch yu pen fytho hyny a anogod profedigaeth drug yn Bodloni gormod ar yn medul, ne'n cnaud ni, yn diuaethaf, Cydsyniad yu, pen fo'r cuylys a denuyd druy lithiant a dilaethuch yn cydsynio a'r pechod yn diamrysys, druy'r cyttundeb y cyflaunir pechod, ag y guneyr dyn yn euog gar bron duu o dan uphernaul, er na uneler bob amser, mo'r uaithred, O achos synhuyrol y dyuoeduyd fod had pechod yn y lithiant, i borthiant yn i dyleithuch, ai gyflaunruyd yn y cyd synniad: ne os mynun chuilio yn fanylach hyn o beth, ymae lithiant i fedul yn duyn alan aphaith, o'r aphaith dileithuch, o'r dileithuch, cydsyniad, o'r cydsyniad guaithred, o'r uaithred arfer, o'r arfer anobaith o anobaith mayntimiaeth pechod, o fantimiaeth pechod phrost, o phrost barnadigaeth diogel, fel dyma yr gaduyn ne gefynau a'rhain ymae'r cythrel yn rhuymo dyn a huynt ag yn i furu ynguysc i

*Greg. homil. 16. in Euangel.*

*Iacob. 1. Rom. 6. Mat. 5.*

*Vide Gregor. magn. li. 4. moralium.*

ben, nid yn unig i bob rhyu bechod, eythr hefyd i Eigiaun uphernag o heruyd hyn y mae'n brophidiaul ag yn fudaul adanabod, a guilio yn dyfal, y cyfryu radau a'r cainciau yma i bechodau: rhag yn Somi ni, a'n bod meun perigl i'n damnio ag yn coli.

Et Isiodorus de summo bono.

D. Pa fod y gelir gochel pechod?

A. Yn gynta os guelun y gofidiau, a'r perigl sy'n calyn pechod: yn ail os gurthebun yn y man yn dyfal ag yn diuid druy nerth Iesu Grist i dechreuad huynt, ag os gurthladun chuantau drugionys, druy rhain y lithir'ni yn haud i bechu, yn diuaethaf, os ny ni a lafyriun ag am canum i arfer rhinuedau gurthnebys i bechod druy fod Crist yn yncymorth, Am hyny y mae'r pregethur yn Rybidio, na does ar ol dy chuantau, eythyr ymattal odiurth d'auyd, os rhodi ith enaid i eulys, yna ygunai lauenid ith elynion, am yr hun beth y mae duu i hun yn dyuaedyd: os yn da y gunei, onichai orchfiaeth, ag onis gunei yn da, dy bechod syd oflaen y drus, ond dy chuant i hyny a fyd yn dy lau di athydi a gai fod yn argluyd arno ag y man yma y mae'r arfau ysbrydaul a'rhain y mae S. Paul yn dymyno i filuyr Crist, i'm

Bernardus serm. 5. de quadrag.

Rom. 12.
Ephes. 4.

Eccles. 18.
Genes. 4.

Ephes. 6.
Hebr. 12.

*arfer i'm diphin yn erbyn pechod o hol dicheliony cythrel, megii i galont urthlad pechod yn y dyd drug, a diphodyd dardau tanlyd y muy muy drugionis.*

---

### *Dosparth ar ysaith brifbech.*

*D. Pa bechodau syd raid, i ystyrio yn benaf?*

*A. Yrheini a eluir prif bechodau, am i bod bob vn or dau, yn phynoniau ne'nben i'r hefyd am fod phruythoed guenuynig yn tyfu o honynt, a phob cyfryu uyd, baiau, Scandalau, coledau, lugrau a phob haint sy'n cuympo ardyn sy'n diclu o honynt megis o uraidson hir.*

---

*D. Pesaul prif bechod y syd?*

Greg. li. 11. Mora. *A. Saith, a rifir y lyn: Balchder, Cubyddra, godineb, Cynfigen, Glothmeb lid a diogi, Ond megis ydylem mi fyth gasau yn faur, a gochel yrhain: fely y mae'n rhaid ini (os mynun i fouyd i'r enaid) dylyn druy faur diuidruyd a dyfalruyd a serch y saith rinued y*

Collos. 3. *syd urthuyneb i'r saith bechod yma, difalchder*

y'sydurthuyneb i falchder, huelioct i Gubyd- Corint. 9.
dra, diurirdeb i Odineb, cariad perphaith, i
gynfigen, vn'pryd i lothineb, hynaused i lid, Eccles. 31.
diuidruyd duuiaul sy'n erbin diogi.

Cor. 13.
Hebr. 10.

---

D. Beth yu balchder a pha eppil syd ido?

A. Balchder yu chuant afrolus i rago- Deut. 17.
riaeth, pa un bynag i bo ai o feun i ga- Sapient. 5.
lon yn gudiedig, ai o dialan yn Ambug fal dy- Mat. 13.
ma fam tuysoges hol faiau, ond yn henuedig a Gene. 49.
genedlod yr afluydianys eppil yma Anufude-
lod Phrost rhagrithiad ne hipocrisi, ymryson,
cynen, cyndynruyd guamalrhuyd, Belach me-
gis y geler gochel y dirfaur bechod rhaid yu Eccl. 10.
fyth gophau y peth a dyuad Tobias, na olung, Iacob. 4.
fyth (med ef) dros gof falchder i gael bodloni 1. Petr. 5.
dy Synuyr, ne i lyuaedraeth d'air di, Canys o
falchder y mae pob scelerdra yn cael i dechre-
uad, Ahefyd athrauaeth yr Apostolion sy'n
gurthebu'r balch, ag yn rhoi gras i'r difalch, o
choeliun y prægethur, casnorys yu balchder gan
bron duu a dynion, yr argluyd a diflanoed uraid
y rhai beilchion, ag a blanod y rhai gostungedig
yn i le meun gogoniant Ambyny paham
yr uyti syd dust a ludu yn balchio?

D. Beth yu cubuddra a pha blant syd idi?

A. Cubuddra yu chuant afrolys i gael nei
fedu, efe a elir i farnu yn gubud, hun
nid yn unic, yn raistio, Ond hefyd hunu a-
2. Tim. 3. chuenycho da aral, ne a gatuo i dai hun yn rhy
Cor. 6.
Matt. 9. galed, merched y fam drugioys yma yu rhain,
Prou. 22. S. yu traeturiaeth, dichel, tuyl, anydon, aflo-
nyduch, trais: anrhigared, angouaithdra a
chleduch calon, y mae'r Apostol yn barnu ar
y pechod yma yrhain ynt yn chuanychu ym-
gouaethogi sy'n cuympo meun profedigaeth a
magul y cythrel, ag ymrafel chuantau anphro-
phiaul, a drug ar les dyn: yrhain sy'n bodi dy-
nion yu marfolaeth a dystrouiad, ag yn i lad ai
difetha. Cubuddra yu guraidin pob drugioni,
ag y mae'n yscrifenedig meun man aral, nid
dim oes muy sceler na'r dyn cubud, nid oes dim
fuy enuirys na charu couaeth, hun sy'n guerthu
i enaid, Crist sy'n testiolathau, ni eluch uas-
naeth duu a chouaeth, hefyd na fyduch ofalys
y foru S. Paul sy'n rhoi hyny alan yn eglurach
gan dyuaedyd: Bydcd ych ymurediad yn diserch
i gybudd druy fod yn fodlaun orhyn syd genych
Mat. 6. yn bresenol Canys ef a dyuaedod ni phalaf iti,
ag nil gadauaf di o chuaith: megis y galom dy-

*uaedyd yn hyf, yr argluyd yu fynghymorth, amhyny ochauinymborth adilad, yrydymyn fodlaun o hyny.*

---

*D. Beth yu godineb, a pha eppil sydido?*

*A. Godineb yu chuant afrolys i sple- dach, amhuraid anladys, ag ymae'n yn cenedlu n'enyn generu'r rhain dalineb medul, didarbedruyd, anuadalruyd penchuiban- ruyd, traserch arno i hun, cas i duu, gormod chuant i'r bouyd hun, ofn angau, a'r farn a a dau, ag anabaithio yr deduyduch tragouy- daulyn erbyn y pechod yma yrhun sy'n guney- thyr y doethyn phol, a dynion yn anifailiaid yr Apostol sy'n yscrifenu felyn, ymae pob pe- chod auuelo dyn alan oi gorph i hun: Ond y neb auuelo odineb, sy'n pechuyn erbyn i gorph i hun. Ag ymae'r un meun man aral yn te- stiolaethu yn y modyma, neduch grybuyl yn ychmysc chui am Odineb, na brunti aral yny byd, na chubuddra, megis i guede i saintiau, nai serthed na phol siarad, na guagdigrifuch, nag anfedrysruyd amherthynasaul, cythr oflaen pob peth rhoi diolch iduu, a pheth rhy- fed a chuilydys yu bod Cristnogion garbron duu ai angelion yn i halogi hunain druyfasued*

Prou. 13.
Sapien. 4.
Psal. 51.
Iacob. 4.
Ephes. 5.
1. Cor. 6.

*budyr, yngynient agudynt gysegrui cyrph ai*
Hebr. 13. *haelodau yn i Bedyd megis templau puraid i'r ysbryd glan, ag i Grist yn argluyd, amhyny ymae S. Paul meun aral, Oni uydochi mae*
Galat. 5. *teml duu ydychi a bod ysbryd duu yn aros ynoch? hun a gousoch gen duu ag nidydych yn eido chui ych hunain? athrachefn, oni uydochui fod ych cyrph yn aelodau Crist: a gymera si ai gunaethyr yn aclodau putain, agyny diued ymaen gorphen, canys ef ach prynuyd chui amaur uerth amhyny gogoneduch, ag aruaineduch duu ynych cyrph, godinebuyr a phutamuyr a farn duu.*

---

D. *Beth yn cynfigen, a Pha eppil ymae hi yn i genedlu?*

A. *Cynfigen yu tristuch am daioni a chynyu aral, a gofid urth deduyduch un aral tu ag oit i Orucha, amna byd gystal: ag y rhai syd is rhag na bydent gystal ag ef ty ag at i gyphelib, am ibod yn gystal agyntau megis ag y dyuaedid S. Austin, ag ymae hyn o fer-*
Eccl. 28. *ched genthi hi: Cas, absen, difenui, dirmig, la-*
Genes. 4. *uenyd o draphert a hylbul un aral, a gofid o olud un aral, yrydym yn darlain gynfigenu o*
1. Reg. 18. *Gain urth Abel uirion i fraud i hun, ag ir bre-*

*nin*

nin Saul gynfigenu urth Dafyd i fab yn gy-
fraith, a darfiasan i darparu'n frenym y pechod Sap. 7.
phiaid yma, hun heb lau i fod ef yn o-
lau yn erbyn naturiaeth a chariad perphaith
ymae hefyd yn guanaethyd dynion yn gyphelib Galat. 5.
agyn debig i'r Cythraliaid: druy gynfigen y cy-
threl y doeth augau i'r byd: arhain ydynt ari
du ef, ai calyn ef: Ag urth hyn da y mae'r A-
postol yn rhybydio na fydun chuanog i glodor-
uag, druy gyphroi paub i gilid, a chynfigenu o
baub ureh y lal.

---

D. Beth yu glotineb a pha rai yu i ferched ef?

A. Glothineb yu auyd anlyuadraethys, i
fuyd a diod, ag y mae hyn o ferched ido, Exod. 32.
panuedaiddra, lauenyd, dadurd anfedrysruyd, Iob. 21.
buscled pulder synuyr a dealt eythr bethaal fod Prou. 10.
uaelach na bruntach na bod megis Anifailiaid Eccles. 10
yrhain sy'n fodlaun i'm borthi yn gynil, arol
naturiaeth, ag etto ymae dyn yn i rhagori, pen y
mae'n yn ymroi i hun yn ailtud yu fol ne yu ry-
men, i uttres, i ormoded, ag i feddod, druy drau-
lio ag uastio y cubul ar a fedo, y mae'n Luc. 21.
guneythyr yn erbyn i echyd, ag yn syrthio me Prou. 20.
un clefydau, ag yn ydiued yn byrhau i hoedyl?
Canys guir a diogel yu'rgair hunu lauer a fuont

feiru druy uttres a gormoded, ar neb syd gynil a sober a estyn i einioes: o lauerosuyd y dau clefydau, Crist sy'n gorchymyn guailiuch rnoch ych
2. Cor. 6. hunain, rhag gorchfyguch calonau a glothineb a meddod, e fthr S. Paul i'n dcuny ni o diurth
Osee. 4. feddod sy'n dyuaedyd, na feduer chui genuin, yn yrhun ymae godnieb: yrhai a feduant ni
Eccle. 19. chant fedianu te y'rnas nef o heruyd hyny prophuyd duu sy'n yn byguth yn erbyn y fuyr, guae yrhai cryfion sy'n yfed guin, a'r dynion nerthaul sy'n gymyscu diod gadarn.

---

D. Beth yu lid a pha ephil a enir ido ef?

A. lid yu chuant i gosbi un aral a debygo dyn gael drug ar i lau, Ag y mae'n geni o hun ferchef meldigedig ymsertu Balchder ne Rysig, diystyruch lefain, cynfigen dirmig, ne
Prou. 19. rhegu, ne tygnedu: hun syd uenuyn medul
Iob. 15. hun sy'n lugru grym a galu barnadigaeth adœthineb, ag yn dynystrio yn fynychiechyd yr enaid a'r corph, o heruyd hyny y pregethur a'n rhybydiod: na fyd gyflym yn d'ysbryd
Eccle. 19. i digio: Oblegyd dig sy'n gorphouys yn mynues pholiaid, hefyd ymae Athrau y cenedloed,
Eph. 4. yn gorchymyn tyner ymaith o'ch mysc, bob
Eccles. 7. chueruder, a lid, a chynfigen, a lefain, ag ab-

ſen anuyaul, a chabledgida phob drugioni, a bydych hefyd gymuynaſcar, a thrigarog gan fadau baub yu gilid, megis agymadauod duu i chuithau druy Griſt, ag nid heb achos y dyuaedodyr uſtus penaf, y neb ar a digio urth ifraud i hun, ſyd euog o'r farn, a'r neb a dyuaedo urth i fraud i hun Racha, (yr hun ſyd aruyd o lid) ſyd euog o'r cyngor, a'r neb a dyuaedo urth i fraud, phul, ſyd euog o dan uphernaul. Col. 1. Matth. 5. Bern. Ser. 3. & 6. de Aſcenſ. Domini.

---

D. Beth yu diogi a pha ferched ſyd ido?

A. Diogi yu diphruythdra a leſced calon dyphigiaul i uneythyd yn da, ondyn anuedig ymae diogi yn driſtuch pethau yſbrydaul, a rhain yu i ferched, malais, ſtyfnigruyd, guendid calon, anobaith, aneſcudruyd ynghylch gorchymynion angenrhaidiaul, anuadal uybiad medul ynghylch lauer o bethau, a'r perigl trum ſy'n dielu alan o'r pechod hun a dangoſir druy airiau Criſt yn yr Efengl pob pren ar na duco phruyth da, a dorrir, ag a furir yn y tan, ag meun man aral, Buriuch y guas anfudaul i'r touyluch eithaf, ag ni chafod dyuaedyd o chuaneg, beth a fynau ini uneythr rhag bod yn ſurth ag yn ſegur edrychuch, Greg. li. 31. Mor. Eccleſ. 33. Prou. 6. Pſal. 118. Mat. 20 Ioan. 13. Rom. 13. 2. Cor. 7. Galat. 3.

guiliuch, a guediuch, canys ni uydoch pa bryd y byd yr amser, ymdrechuch fyned i'r porch cyfing, canys lauer medafi i chui a gaisiant entrio i meun ag ni alant.

Apoc. 2. Luc. 13.

Hyn a dyuaedasom arol y dospart a amcanasom mi urth dechre, megis y galo ysaul, sy'n chuanychu Cyfiaunder Gristnogaid, nid yn unig i adanabod ai nodi, ond hefyd ochel, a guthio odiurthynt (arol gorchymyn duu) y doluriau yma: yrhain syd beryclafi genedl dyn, ar meldigedig haint yma a dangosasom uchod.

Rom. 12. Bern. Ser. 35. de paruis sermonibus.

---

Ynghylch pechodau rhai erail, yrhain yrydym ini yn aphaithiaul o honynt.

D. Pa bechodau a eluir pechodau rhai erail.

A. Yrhémi auneir a duylau rhai erail, ag etto er hyny efai cyfrir ag ai burir (nid heb achos) at omi, ag auna cyduybod yn euog gar bron duu, O heruyd hyn, yn i cylch huynt y gelir cymeryd hyny y mae'r scruthurlan yn i orchymyn, gan dyuaedyd na syd gyfranog o bechodau erail a hyny y mae'r prophuyd breninhaul yn iuedio fal hyn, Glanasi fargluyd odiurth fymechodau dirgel, ag arbed dy uas odiurth bechodau rhai erail. At hyn o beth y mae Saint Basil faur yn tuedu hyn at

1. Tim. 5. Vide Basiliũ li. de vero dignitat. Aug. li. 3. de lib. arbitr.

crifeniad Saint Paul at yr Ephesiaid, na fyduch gyfranog a guaithredoed diphruyth touylug, ond baiuch arnynt yn hytrach, a hefyd y dyuedyad yma o'r un Apostol, ymadeuch a phob Cristion fraud, a ryfyd yn rhodio yn anlyuadraethys, ag nid yn ol y tradydiad a gousoch i genym i. Ephes. 5. 2. Thess. 3.

---

D. Meun pesaul mod yrydym yn aphaithiaul o bechodau rhai erail?

A. Meun nau mod, S. druy gyngor, gorchymyn, cydsyniad cyphroiad, canmoliad, ne uenithiad celu bai aral ai lochi, bod yn gyfranog o'r bai druy 'mdiphin?

---

D. Pa bryd y rydyyn aphaithiaul o bechod rhai erail druy gyngor?

A. Pen fythom mi yn achos, ag yn rhodi cyngor drug, yrhun ymae erail yn i galyn ne'n galu i galyn. Cayphas a al fod yn siampl o hyn, hun druy agyngor a anogod ag a yrod gyngorihaidyr Iudeuon i roi Crist yu farufolaeth: Ond yngurthuyneb i hyny Canmolir Ioseph ab Aramuthia, ag ai geluir yn ur Eccl. 27. Esai. 19. Psalm. 7. Ioan. 11. Mat. 25. Act. 9.

Marc.6. da cyfiaun, am na chyttunod ai cyngor nag ai
gueithredoed huynt, S. ag esgobion yr Iudeuon,
ag ar pharasaiaid uedi udynt ymroi yn anuiaul
i uneythyd brad Iesu Grist yu farufolaeth o'r
hyu yma yrydoed Demetruis, yrhun gida
chyfelion erail dichelys, ermuyn i fud ai elu i
hunan aunaeth terfysc maur ofeun Dinas E-
phesus a hyny yn erbyn Saint Paul ai dysceidia-
eth, yn yrun mod Herodias yndiguilid hon oed
Herod frenin yn i chadu'n yn orderch, o he-
Mat.14. ruyd druy i chyngor hi, i merch a oedyn dansio,
a barod, yn greulon dorri pen Ifan fedydiur
santaidiaf ol.

---

D. Pa bryd ymae un yn aphaithaul o be-
chod un aral druy orchymyn?

A. Pen del cam i gymydog, ne pen unel er
1.Reg.22. drug yn y byd, druy archiad, barn, ne'n
gorchymyn ni, megis ag i ladod i bremin Da-
Hester.3. fyd vrias uirion, nid ailau i hun, nag a duylau
Daniel.3. yr eido, ond urth lythyr gueiniaithur, a gor-
chymyn i lad ef yn y fruydr. A Philatus yr
Luc.23. rhaglau oed euog o farufolaeth Crist, am ido i
farnu, ai dodi ef druy audurdod er bodloni'r
Exod.1. Iudeuon yu groesgoelio, peirhon ido agunay-
Levit.20. thyr hyn gen muyaf yn erbyn i euylys, yn yr-

mod Herod a Pharo a becha ſont yn dirfaur ag yn heunys, pen unaethont gyfraith Tyrranaid i lad plant yr Hebraiaid, Guae y rhai ſy'n guneythyd cyfraithiau anghyfiauen. Luc. 11.

---

D. Pa bryd y mae cytundeb yn guneythyr ni yn euog o bechodau un aral.

A. Pen fytho y Peth aunelo aral ar gam yn cael yn gair daionis ne or leia yn cael gynuys ai lochi genym ni yn dirgel fal hyn y pechaud Saul pen i cytunod i farufalaeth Stephan y marthyr cyntaf, ag felyny y pechaſont muy na daugain o'r Iudeuon am uneythyr aduned a dyfod yn arfog ar feder lad S. Paul, yn diuaethaf y pechaſont dinaſuyr Caerſelem, pen y cytunaſont ar ſuydogion i rodi Criſt yu farufolaeth, Amhyny, ymae peder yu dannod udynt gan dyuaedyd, chui a ladaſoch y byuyd, amhyny ni a dylem dal ſelu ar hyn a dyuaedod S. Paul, nid yn unig y rhai ſy'n guneythyr drug ſy'n haudu marufolaeth, cythr hefyd y rhai ſy'n yn cydſynio a'r gunaethyruyr. Athun ymae'n tynu i Peth y rydym yn i darlain yn S. Sypr. nid yu ef yn aneuog o bechod, hun yn ſyd yn gorchymyn i uneythyr: nag yn difai hun y

Ireneus 4.ca.45. Act. 7. Marc.15. Act.3. Rom.1. Li.31. qua eſt cleri Romani ad Cypr.

ſyd ynyngyhoed yn cydſynio, peirhon na unaeth ef mor bai.

---

D. Pa amſer y bydunni euog o bechod un aral, urth gyphroi?

1. Reg. 1. A. Pen rodomi achos i un aral, druy uybod, i digio, i dial, i dyrmygu duu, i greu-
Pſal. 105.
Mach. 4. loni ne'r cyphelib feiau, pa fod bynag i gunelo-
ni hyny, ai ar air, ai ar ueithred, ne mod
Epheſ. 6. aral yn byd: Ni bu uraig Iob oludaug chuaithpel odiurth y bai yma, hon yn dirmygys ag yn di guilid oed y annos i gur, yr hun oed yn di-
Tob. 2. diciaf ol ag yn laun o myned, i tygnedu ne i regu duu, hefyd guraig Tobias oed mor drug anuydys, megis idi hi yn fynych druy 'mſerthu gythrydo i gur, ag y roed yn gunaethyd hyny. O heruyd i fod, megis gur gofalys druy acheneidiau, dagrau, a guediau hyd at duu, yn ga-
Eccl. 28. laruy maurgam yrydoed yn gode ar lau iuraig,
Prou. 15. Eythyr Eccleſiaſticus y ſyd yn yn rhybydio, ymgeduch rhag cynnen meun mod aral, ag di aunai dy bechodau ynlai, gur dig lon a enynna
Prou. 17. gynnen a gur pechadurus a dralodaf i gyfeilon, ag a furu gas ymyſc rhai heduchaul fely y dyuad Salamon, y dyn terfyſcys ſyd fyth ai fryd ar-

ardrug yn unig, a chenad greulon a'danfonir yn i erbyn. Esa. 33.

---

D. Pa fod i'r staenir ni a phechod un arail druy ganmol a gueiniaith?

A. Pan ganmolhom un yn guneythyr drug, ne am i drugioni: ne pan fythom mi megis yn i sumbulio un i redeg ar gam, yn yr Prou. 24.
un mod a phei i bai ef yn guneythyrynda, fal y Psal. 140.
rel ef rhagdo yn y dechreuad, Guae y guniady dasau a unelont glystogau tan bob elinoed duy- Thren. 2.
lau fy'mhobl, a'rhai a ueithiant gobenydau Esa. 39. & 130.
dan ben pob oedram i fagelu i enaidiau, megis ag y ma y prophuyd yn yscrifenu, mynych y
mae'r pregethuyr egluysig ne'r Suydogion by- Rom. 6.
daul pen fythont yn dyuaedyd gueiniaith urth y bobl, druy i lochi ai meithrino yn gyhoed yn i Rbydit ai duugioni, Da y mae'r y Prophuyd Esaynodi ar gairiau yma fymhobl i y neb sy'n dyuaedyd dy fod di yn deduyd sy'n dy Somi di, ag yndyniflro luybr dy Petr. 2.
draed di, hefyd y mae Sainct Paul yn gynghor i ni ochel yr athrauyr, yrhain druy airiau Psalm. 9.
teg a gueiniaith yn tuylo calonau yrhai didrug, difalaiscanys o heruyd bodyn camnol pechadur yn chuantau i galon, ag adyuaed am yr anghyfiaun, ef a somgaraf yr argluydy pechadur,

megis, ag y mae i prophuyd breninhaul yn testiolaethu.

---

D. Pa amser y dau pechod un aral arnom mi druy gelu a theui ason?

A. Pan delyniued in deiliaid ni, ne i un
Bernard. de S. Ioã. Bapt. aral am deui hono ason, yn y mod yma. O byd yn suyd ni i dyscu, ag i rybydio, ne i gerydu yn brodyr ne'r bobl, os peidiun ine yn y cyfamser pen elem uneythyr maurles, o bod yn lonyd heb dyuaedyd un gair y mae'n faur yn baini,
Aug. epi. 119. O heruyd hyny y mae'r argluyd yn testiolaethu i bob pregethur, lefain na oprhouys, derchafa yn uchel dy lais fel udcorn a managa i'm pobl i Scelerdra, ag i deulu Iacob i Pechodau, ond guarãdo pa berigl syd i'r hain a eluir cun mudiõ heb alu cyfarth, pen dyuaiduy fi urth yr anuiaul (med yr Argluyd) dydi a sydi faru onis
Hiere. 23. dangosi di ido ef ag onis dyuaedi urtho ef, megis y galo droi o diar i phord anuiaul, a buu, yr anumul hunu a syd maru yn i anuoldeb, amyne a ofynaf y uaed ef ar dy laudi. Y mae mor angenrhaidiaul cadu hyny a dyuad S. Paul ag
1. Cor. 9. a dyuayedod druy faur erfyn, pregetha'r gair, byd daer meun amser ag alan o amser: argyoeda, ceryda, anog druy bob ymyned agathra.

niaeth, hefyd yr un Apostol mewn man aral, cerydda garbron pawb i Saul a becho, megis y bytho ofn ar erail.

---

D. Pa amser drwy'n tenerwch ni y bydwn yn enog o bechodau erail?

A. Pen odefom i i'r pechod a elid, ag adylid i gueirio ai gyrydu, drwy'n galu, a'n audurdod ni dient, er hyny yn digeryd amyned waethwaeth yn y bechod yma, y Swydogion sy'n syrthio, yr hain sy'n dwyn i clede yn ofer, ag nid ynt wasnaethwyr idwn, a llonyduch fal i geluir hwynt, dialwyr yn cosbi yr hai a wnelont scelerdra, yn y pechod yma y Syrthiod y brenin Saul pen ido yn erbyn gorchymyn duw, fod yn rhy dirion ag yn rhy dyner yn arbed y Malaceithaid i elynion, Brenin Achab a bechod yn yr pechod am cymodi a brenni Syria, ai safrio: am hyny ni diengod rhag sarrig farnadigaeth y prophwyd, gan i fyguth yn y mod yma, hyn y mae'r Arglwyd yn i dywaedyd, o herwyd odef o honeti y neboed euog o farwfolaeth diainc heb i gosbi dy einioes di a fyd dros i enioes ef ath bobl di dros i bobl ef, at yr un peth y gal hyny a dywad S. Paul, ag a orchmynod i'r Corinthiaid berthynu. Chwnwch y dyn drwg o'ch

myſt, Oni uydoch y ſura y chedig le fain yr holdoes? Certhuch alan yr hen ſurdoes, Guedi hyny y mae'r tadau a'r mamau, meiſtred ag athrauion yn pechu yn y pechod yma, Am i bod huy yn diuyno y ſaul y ſyd dan i duylau, druy gymeryd arnynt, na uelont moi baiau, a thruy ormod tyneruch yn i duyn huynt i fynu, a hefyd yn godef i'r rheini druy i eſcluſtra ai diogi fyned i ormod perigl, fel y yrydym yn darlain diuyno yn gubul blant Eli druy ormod teneruch y tad yr hun a gosbuyd yn doſt am fod yn rhy eſmuyth urthynt, at hun hefyd i gelir ardodi y pechod a eluuir diphig cerydu a rhybydio ne duyn i phord iaun yn braud, gan fod Criſt hefyd yn yn rhybydio, fod yn rhaid cerydu'n braud, unuoith, a duyuaith, a thair; fal y galoni i cnil ef urth i dyn y alan oi bechod er bod rhai y'n rhoi rhagor rhung y cyfryu ahun a'r eſcluſdra na'r teneruch a dyuaedaſom uchod, fal i gunant fath aral ar bechod o honynt.

---

D. Beth yu bod meun pechod un aral druy fod yn gyfranog?

Tob. 2. Prou. 29. A. Hyny a fyd yn benaf, pen delomi i gael rhan o'r Scar a'r Butti gida'r ladron

*ne'r treisuyr : hefyd pen daliom gidag erail, druy uybod da a gad ar gam ne yn anghyfiaun ne meun mod yn y byd heb berthynu attomi, heb lau hyny pen fythomi yn ymgouaethogi druy espeilio erail at hyn y gal berthynu hyny a dyuad Dauid brophuyd rhedeg gidar ladron, a bod a rhan gida'r godinebus megis y mae Esaias yn rhoi bobl yr Iudeuon, dy duysogion di syd an phydlon, yn gymdeithion i ladron, i gyd yn caru rhodion, ag yn calyn gobruyion, trymach hefyd na hyny mae'ntuy'n pechu yrhain yn olau ag yn gyhoed sy'n ceiso elu udynt druy anonestruyd erail, megis lattaion, ag y dynion a uydir i bod yn diphaith, ag yn anonesti fal y galont dyfod i hunan ne yrry yno.* Psal. 49. Deut. 29.

---

D. *Pa fod y burir arnomi bechod rhai erail druy fentimiant?*

A. *Pen fythomi yn maentimio rhai yn guneythyr drug, ne'n mantimio ag yn hau ar led dyscediaeith un aral, bod yn drug ag yn anuiaul, hefyd pen lafuriomi i roi rhagdo ag idiphin druy'n gofal a'n guaithni beth a ordeiniuyd yn erbyn cyfraith duu, megis taranau yn torri alan, Gue chui (med Esay y prophuyd, sy'n galu y drug yn da a'r da yn drug,* Esay. 5.

ag yn rhoi y tyulug yn oleuad a'r goleuad yn dyulug, yn rhoi'r melys yn chueru a'r chueru yn felys: A hefyd guae chuichui sydd yn cyfiaunhau'r anuiaul am i rodion, ag yn duyn cyfiaunder y cyfiaun o diarno. Digon yu hyn yng hylch y pechodau a eluir pechodau rhai eraill yrhain yn uir sydd yr aurhon uedi tanu yn hirag yn llydan, ag yrydys yn i guneythyr beunydd druy faur rysig ymysc y guyr maur yn anuedig, Ag y mae'rhan fuya cyn beled odiurth i gochel, megis i bod yn tybied na ydynt bechodau, ag felly yn i rhoi meun pris bychan, er i bod yn llugru i cyduybod druy frunti'rhain, an yn coli i henaidiau Ond ef a elir buru'r holl bechodau a dyuaeduydd uchod, gan muya meun tri rhyuogaeth yn gynuys yn ag fyr, megis ag y mae S. Basil faur yn dangos Canys pen syrthiomi meun aphaith, ne gyfran o fai ne bechod un arall, hyny a fydd naill ai yn y peth, i hun, ar uaithred, ai meun euylys, ne ryu fryd a medull yn unig ai urth esceulysruydd didarbod pen dylyt i rhybydio, ne i mendio, i siomi huynt am na dylem uneythyr. Ond o'r holl bechodau y scumunaf o lauer yu hunu aunair yn erbyn yr ysbryd glan.

Ynghylch pechodau yn erbyn yr ysbryd glan.

D. Beth yu pechod yn erbyn yr ysbryd glan:

A. hunu yu gurthod yn diystyr (ouir falais) faur daioni a gras duu uedi gynig yrhuny bydir yn arfer i roi ne i farnu i'r ysbryd glan, megis i Phynon hol daioni, A hyn yu Pechu yn difadeuaul, fal na elir cael madeuaint am y cyfriu bechod, ag un cymeint a hunu, nag yn y byd yma, nag yn y byd aral sy'n dyfod, urthi air i hun: Am fod duu urth y'r Amod yma, yn yn trino ni fal na rodo duu ras ar y daear, ne ogoniant yn y ne foed i neb, ond i'r saul a phiaidiant y peth a uypont i fod yn pechod: ag heb lau hyny, a rodont i bryd ar daioni, ag a deuisant phord gyfraith laun i fuu, ond y Pechod yma a uneir yn erbyn ysbryd yr glan, nid oes na phiaidra pechod, na bryd i galyn daioni fal y dylid: ag heb lau hyny y rydys yn buru ymaeth y peth druy'r hun y mae'r ysbryd glan oi ras i hun yn arfer galu dyn o diurth i bechod, Am hyny ni alanthuy a fagler yn y cyfryu bechodau yma, gael gras duu yn y byd Canys y rydys yma yn pechu yn erbyn tad, nid o uendid a brauder dyn, hun a eluir

Matt. 13.
Marc. 3.
Aug. de verbis.

Aug. lib. 38. Quæst.
Mat. 26.

*pechu'n erbyn tad, a galu'r tad, megis ag y gunaeth peder pen uadod Grist, na chuaitho anuybodaeth, yr hyn yu pechu (megis y dyuaedant) yn erbyn y mab, a doethineb y mab, fal y damuyniaud i S. Paul, pen oed yn erlidur creulaun yn erbyn Egluys Grist, ond yrydys yma yn fuy o lauer, ouir drugioni a chyndynruyd calon, fal y mae'r Pharasaiaid y dynion dy phaithiaf a'r cyndynaf yn rhoi Siampl.*

---

*D. Pesaul pechod sy'n erbyn yr ysbryd glan?*

*A. Chuech o'r pechodau hyny a gifrir, megis y mae i henuae huynt yn gymraduy i baub.*

*1. Trahyder, ar drigared duu, ag ar dienc yn digosb am bechod: Anobaith gurthnebu guir, uedi uybod, cynfigen urth gariad perphaithi Gyd gristion, Cyndynruyd ag anydiferuch, ond haus a fyde i dealt os cyfrir huynt yn y mod yma.*

*1. Camarfer yn rhy hyf drugared duu.*

*2. Cubul anobaithio gras duu ai iechyd i hun.*

*3. Bod yn elyn iuirioned y phyd gatholig a hyny yn*

*ny yn erbyn i gyduybod i hun.*

4. *Bod cynfgen yſtyfnig, agofid arno am luydiant, iechyd a rhinuadau i fraud Phyd.*

5. *Trigo druy uybod a medul cyndyn meun pechod?*

6. *Bod heb fryd ar y difairuch, nag ymadel ai fuched drug.*

---

D. *Para drahyder auneiph bechod yn erbyn yr y sbryd glan?*

A. *hunu aunelo i dyn roi cymaint o goel ar trugared duu yn unig, ag y byd hyf iuneythyr pechod heb yſtyriaeth o gyfiaunder yn y byd, nag ofn duu, y mae lauer hediu yn pechu yny modyma, yrhain ſyd yn bodloni ag unig Phyd yng hriſt, ag yn pydru fal anifailiaid ynghanol budredi pechodau, ag yn ado yn hyf, nid yn unig udynt i hunain, eythr hefyd i erail ſicruch a diofalruyd o goeldruy haedianau Criſt, ag i ras duu, yrhun y maentuy yn i gyrheudyd druy Phyd, ag ni dangoſant yn y cyfamſer dim o phruyth penyd, mae S. Paul athrau y cenedlod meun Phyd a guirioned yn crio ar bob un o'rhain, Auyti (med ef) yn diyſtyru couaeth daioni duu i diodefgaruch i ymyned ai ortho? oni uydoſti fod daioni duu*

Greg. in ca 3. lib. 1. Regum.

Bern. Ser. 38. ex parnis Serm.

Hieron. in can. 4. Oſeæ.

1. Cor. 13.
Pſalm. 2.
Rom. 11.
1. Gal. 5.

*yn dy douys di i dyfeiruch urth dygleduch di ath calon anydifairiol, yruyti yn darparuyti*
Iacob.2. *dig erbyn dydy digofaint, pen anirgeler cyfiaun*
Eccles.9. *farn duuyr hun a ryd i bob dyn yn ol i uaithre-doed* Amhyny *y mae'r un S. Paul meun man aral yn dyscu na dylid phrostio yn unig phyd, ond guaithio yn iechyd ni druy ofnag arsuyd ag ymae'n canmol ag yn gorchymyn ini phyd nid phyd faru a segur ( megis ag ymae Iacob yn i galu )* Eythr *y phyd fyuiaul hon druy gariad perphaith syd y guaithio yn gyfiaun yn erbyn y pechod afrolys y mae* Ecclesiasticus *yn crio, gan dyuaedyd, ynghylch mandeuamt dy be-chodau na fyd diofn, ag na furu un pechod ar y lal, ag na dyuaid maur yu trugared yr ar-gluyd, ef a gymer drugared ar faml bechodau i* Canys *trugared a dig a nesant odiurtho ef yn*
Psal.100. *fuan, a digofaint of edrych ar bechaduriaid* Amhyny *y prophuyd sy'n dyuaedyd yn da,* Dadganaf *yti f'argluyd* Drugared *a barn, ag meun man aral aarhyded y brenin yu caru barn.*

D. Pa fod y guneir pechod yn erbyn yr ysbryd glan druy Anobaith.

A. Pen del bai gurthuyneb i'r trahyder a dyuaeduyd o'r blaen, fal y burio dyn i phord bob gobaith i gael madeuaint gar bron duu i yn i liechyd traguydaul, hun oed bechod Cain megis ag y testiolaethod ai air i hun, muy heb ef, yu fanuired i nag y dylun gael madeuaint fal hyny hefyd yu pechod Iudas Bradur Crist pen diuedod ef i hoedel a chebyst yn aneduyd, ond nid yu y difeiruch yn y byd ryhuyr, idyn, megis ag y mae y leidr ar y groes yn testiolaethu, yr hun pen y difarod ar y groes a gafod gen Grist ras maur a gogoniant nefaul. Aug. Ser. de temp. Hom. 21. & 50. Mat. 27. Act. 1. 1. Ioan. 1. Luc. 23.

D. Pa amser y byd gurthnebur y guir yn Pechu yn erbyn yr ysbryd glan?

A. Pen eler ynghylch punciau'r phyd a chyrefyd a dal yn gyndyn gidar celuyd yn erbyn y guir, nid druy obaith ond, druy falais, o'r guirguaithode, fal druy hyn i gelir gunenythyr niued i buraidruyd guirioned catholig, y pharasaiaid oedynt yn euog o'r pechod Leo epist. 10. ad flamanum.

yma, yrhain oedynt yn bena peth, yngofalu i dyrmygu Crist, nid yn unig yn falaisus, eythr hefyd ar gam, ag i erlid athrauiaeth yr efengli

Mat. 11. orthrymu testiolaeth yr Apostolion, a hyny

Ioan. 7. yn erbyn i cyduybod i hun, nid anhebig i'rhain yu'r guyr y mae'r prophuyd yn son am danynt, i bod yn eisted ynghadair y guatuaruyr. Aphe-

2. Petri 2. der yr Apostol sy'n i galu huy yn athrauyr celuydog yrhain sy'n yn dyscu disceidiaeth goledig, Ag yn diuaetha S. Paul sy'n i galuyntuy

Tit. 3. yn hereticiaid, yn dynion luguredig, ag yn go-

Timot. 3. ledig ynghylch y phyd, gan urando gormod ar ysbrydion cyflornys siomantus, ag druy i barn

Act. 13. i hun yn goledig ag yn damnedig. Ymysc yrhain y gelir cyfri Elymas y Suynur y'rhun y mae S. Paul yn serthu yn gyhoed gan dyuaedyd O un laun o dichel a phob druguioni mab diaul, a gelyn pob cyfiaunder oni phaidi a guyro iaun Phyd yr argluyd.

Mat. 12 At hyn y mae'n perthynu cabliad yn erbyn yrysbryd: yrhun y mae Crist yn i danod yn helaeth i'r Iudeuon ag yn i uneythyd yn uaeth ag yn fuy heunys na Phechodau erail, ag oduu na

apud Gratianum 25. Quest. 1. bydent yn pechu yr aurhon yn y pechod hun Canys yma entuy'n cablu 'r ysbryd glan megis ag y mae. Damasus yn yscrifenu, yrhain y syd yn rhy hyderys yn gurthnebu ordeinadau yr hen dadau a darfu i gosod atan druy 'r ys-

brydglan, arhain sy'n guneythyr dimyn i herbyn nag yn cytuno arhain sy'n gunaethyr y cyfryu rysig a guarhydri syd rhyu gablideagaeth yn erbyn yr ysbryd glan.

---

D. Pa fod y mae cynfigem urth ras i gydgristion, yn bechod yn erbyn ysys brydglan?

A. Pen fythomi yn brud ag yn drist iaun urth ueled yn braudyn folianys, druy egluruch a phrifiant rhinuedau a rhodion duu yrhun bechod nid yu mor briodaul y dyn, ag yu i diaul yrhun syd gasaf peth gentho ueled gras duu yn guraidio ag yn cynydu meun dyn, agohe ruyd hyny nid yn unig yn achuynur yn erbyn i frodyr: eythyr hefyd yn bena gelyn i duu ag i holuyr da, hun megis leo rhyedig yn rhodio o diangylch gan geisio y neb a alo i difa, yr oed ymys yr Iudeuon blant Satan, yn cynfigenu fod rhad yr efengl yn tyfu ag yn cynydu dim ymysc y genealethau megis y mae yu ueled yn actau er Apostolion.

Aug. de Serm. domini in monte.

Sap. 2.

Act. 11. & 15.

D. Para gyndynruyd ayna Pechod, yn erbyn yr ysbryd glan?

A. Y' cyndynruyd hunu yn uir auneloy medul ne'r galon mor anysṭuyth yn erbyn y neb a ryd gyngor da, fal na diodefa i un
Exod.7. druy resumau yn y byd, idroi odiurth i fryd ai
Exod.14. amcan coledig, Brenin Pharao oed uedi i'nynu yn faur n'y pechod yma, yrhun ec cael o hono ef i rybydio cyn fynyched gen voyses, a chael dia-
Hiere.5. led yn fynych druy dost a phyrnig gosbydigaeth duu: Etto ef agoled druy sefylyn i fedul creulon, ai gyndynruyd: hefyd angorchfygus
Act. 7. cyndyn ruyd yr iudeuon yrhain y mae Stephan y marthyr yn i paintio megis yn i lyu i hunain oedynt bobl uegilsith heb anuaedu i calonau a'ch clystiau (med ef) chuy chui erioed a fuoch yn gurthnebu'r ysbryd glan ag nid anhebig yn yr amser yma yu rheini syd uedi mroi i dyscei-diaeth neuyd, ag ni alant urando ar un yn dyscu yn gatholig, megis peibai i clustiau guedi stopio: yn yr phunud ar asbis ne'r lyndasen rhag guarando melysdra puroriaeth iachaul athrauiaeth yr Egluys, ef a dybygid i bod yntuy yn dyuaedyd, Cilia odiurthym ni fynun i uybod mo'th phyrd di, yrhun beth nid yu dim

Amgen nag y mae S. Paul yn dywaedyd, eythr yn ol caledruyd dy galon diedifeiriaul, uyt yn tyrru yti dyhun digofaint, a dadcudiad cyfiaun farn duu, Canys hefyd megis ag y mae Salomom yn dyscu gur a geryder yn fynych ag a galeda i uarr, a drylir yn disymuth fal na bytho medeginiaeth ido. Rom. 2.

---

D. pa bryd i gunair pechod o any difeiruch?

A. Pen fytho dyn heb uneythyr na Phen na mesur ar bechodau adylae i glanhau druy iachaid ydifeiruch, ag ai fryd na bytho ydifeiriaul fyth, yn uir maruolaeth y cyfryu rai yma (a ydynt uir bechaduyr ag a fynant drigo fely, fyd uaethaf ol, gan i bod huynt urth i guaithred, er nad ydynt urth i gair, yn dyuaedyd, ef a darfu imi ymruymo agangau ag aunaethym amod ag uphern ag ynghylch y pechodau yma y gelir cymeryd y peth ymae S. Ioan yn i Destiolaethu, ymae Pechod i farufolaeth dros hunu ni al neb erfyn, hyn a dyuaedasom ynghylch pechodau yn erbyn yr ysbryd glan, yr hai muyaf yn uir alant fod, a'rhain nail, ai nifade duu i dyn byth, ne'n anod iaun, Agam hyny nyni a dylem uisco nyhunain ag arfau yn i herbyn, a hefyd cadarnhau erail yn erbyn, Aug. de fide ad Petrum. Psalm. 35. Esa. 28. Ephes. 4. Psal. 93.

*yr hain, fal i caduer hyny, na thristeuch ag na diphoduch ysbryd duu, Hediu os gurandeuch ar i laferyd, nachaleduch ych calonau: neduch i neb fod uedi, druy dichel pechod, calon galed a gaiph drug yn y diued, ynaur ni aun o'n blaen i gymuyl ynghylch y Pechodau syd mor heunys ag yn lefain hyd y nef.*

Hebra. 2.
Eccles. 3.

---

*Dosparth y pechodau sy'n lefain hyd y nef.*

D. *Pa bechodau yu rheini eluir pechodau yn lefain hyd y nef.*

A. *Y rhai a uydir i bod yn gyhoed ag yn Amlug yuch lau erail, ag yn peri dig a dial duu yn arythyrlaun i'rhai ai gunelont, o'r cyfryu bechodau a'rhain y cyfrir peduar yn yr Scruthur lan, S. murdur ne lyasiad euylyscar, pechod y Sodomitiaid, guascu ne orthrymu ar y tylodion, a Somi guaithuyr am i cyflog.*

Aug. in Euchri. & li. annotation in Iob.

---

D. *Para fod y mae'r Scruthurlan yn dial lyasiad ne ladiad dyn yn euylscar?*

A. *Yndrum iaun megis ag y mae duu yn dangos yn y gairiau a dyuaedod urth gy-*

Genes. 4.

ryuu Cain y'lyasur cyntaf, beth aunaethost, i (med ef) y mae lef guaed dy fraud ti sy'n lefain o'r daiar ataf, heruyd hyny meldigedig a sidi ar y daiar, a hefyd meun man aral, y mae gair duu yn testielaethu, puy bynag a golouaed dyn ef a golir y uaed ynte Canys ef aunaed dyn ar-lun duu, y mae Dafyd brophuyd yn canu ni dau guyr guaelyd i haner i dydiau Canys y Pechod yma syd fuyaf heunis ag yn guneythyr cam cre-ulonaf ai gymydog pen sytho'n duyn i enioes a diarno ef heb audurdod cyfraithlaun Am-hyny y dyuaedod. Crist paub a gymeront y cle-de a difethir a'r Clede.

Psal. 2.

Aug. lib. 22. contra Faust.

Apoc. 13.

---

D. Beth y syd yscrifenedig ynghlch pechod y Sodometiaid ai gosb ne i dialed?

A. Guyr y sodamitaid (med Scruthurlā) oedynt uaethafol, phechadyried aryth laungar bron yr Argluyd, yr heunys a'rdir faur bechod yma y mae Peder o phaul yni gue-di yn i erbyn, ag y mae natur i hun yn phile dio hefyd, y ma'er scruthur lan yn dangos mantiole Pechod yma guaedi Sodomitiaid argumoriaid a sty'n liogi: amhyny y dyuaeda sont pechod huy a drumhad yn ormod, Am hy ny y dyuaeda sont yr Angellyon urth loth gy-

Gen. 13.

Rom. 1.

Ephes. 5.

2. Petr. 2.
Gen. 19.

fiaun, ag oed yn dirfaur yn phiaidio guaithredoed y Sodomitiaid fel yn y dyuaedasont yr angelion, canys ni a dinistruyn y le hun, am fod i guaed huynt yn faur gar bron yr argluyd: yrhun a yn anfonodni yu dystryuio huy yn darlain a'r argluyd a lauiod ar Sodom a Gomorra frumston, athan odiurth yr Argluyd o'r nef ag ef a dinystroed y dinasoed hyny ar hol uasted o diamgylch, Ag nid yu'r y Scruthur lan yn celuyr achosion, yrhain agymelasont y

Deuteronomum. Sodomitiaid i'r dirfaur beehod yma, a hefyd a al beri i erail becchuyn y cyfryu fel yn yrydym yn darlain yn Ezechiel, ueled yma enuired dy

Leuit. 18. chuaer di Sodoma. S. Balchder, digoned o fara, a golud, ai ysmuythdra hi ai merched, ag ni

Dent. 27. estynant moi lau i'r anghenus, a'r tylaud, ymae'ntuy hefyd yn euog or pechod heunys yma: yrhain nid ynt yn ofni, dorri ne halogi cyfraith duu, ne gyfraith naturiaul hon syn ys-

Chrysost. hom. 4. in epist. ad Romanos. crifenedig yn lyfr lef, tico, hon syd yn y mod yma, na orued gida'r guryu, megis gidar fanyu, canys phiaiddra yu, ag na orued ynghyd gida' gun Anifail, i'th halogi ag ef, yrhon uaithred os arferir yn yr un man, y mae'n dy rybydio di, fod y dear uedi i halogi druy'r ma-

1. Cor. 6. sued anifailiaid yma, a digofaint duu uedi i nynu yn fuy yn erbyn y bobl, a bod y pechod yma

Galat. 5. yn haedu marufolaeth: O heruyd hyny S. Paul

guirion, urth hyny mae'n haud dealt fod yn cymeryd yma henu cyfiaundr yn gyfynghach, na phen oede i yn dosparthu cyfiaunder Cristnogaul yn gyphredin.

---

## Pa fod ymae'r scruthur lan yn dyscu Ardymeruch?

Rom. 13. AY ochel anardymeruch, y mae'r scruthur lan yn gorchymyn ini, na chalynon dim o ym puy'r cnaud, ne na orchfygon ni un
Cor. c. 5. amser yn calonau, a glothineb a medudod: hefyd ymae'n yn cynghori ini arfer ardymeruch pē y mae'n euylysio ini fod yn sobraid, a guilio, ag ymroi nyhunain i uilio ag i uedio yn Santaid, ag na rothom le yn y byd i Satan: hefyd y mae Ecclesiasticus yn yn rhybidio arfer y pethau syd o flaen dy lygaid yn ardymerys ag yn gynil, ag na fyd uancus, rhag dy gasau, ag yn yr un man ymae'n dyuaedyd ynghylch gochel, medudod chueruder medul yu guin a yfer lauer o hono a meun dig a thramguyd: heb lau hyny yr un sy'n dyuaedyd, guin a guraged sy'n gyru doethion ar encil, sef yu i murthodai phyd, ag am hyny ymae'n rhaid yfed guin yn sober ag yn ardymerys, ymae'n adodi hyn i byuiocau dynion auna guin od yfi di ef yn gymesur, laue-

nyd calon, ag hyfryduch medul, yu'r guin a yfer meunpryd yn gymeſuraul amhyny yrydym yn darlain meun man aral guynfydedig yu'r tir, le ymae'r penaethiaid yn buyta ermuy'n i liniaeth ag nid ermuyn agormoded ondyrhun a'm geidu a eſtyn i hoedl, Etto yrh moed yma o ardymeruch y ſyd yn cyredhyd ymhelach nag urth y gymeryd buyd a diod, Iſan fedydiur ó bu neb aral erioed a rodod ini Siampl berphaith o ardymeruch a diuairdeb, pen ymurthodod a phob gormodedyn i fuyd ag yn i dilad, gan fuu yn ſyber ag yn gynil.

---

D. Beth y mae'r ſcruthur lan yn yn rhybidio ni ynghylch guroldeb?

A. Ymaeyn yn anog ni yu hophi ef, o he- Mat. 10.
ruyd i fod yn tynu o diurthym ofn dru-
gionys ag yn gorchymyn ini ged, lauenyd, a Luc. 12.
guaſtadruyd a dirfaur yni medul Criſtnogaid
yr anuiaul (med Salamon) a phy heb neb yn Prou. 3.
i erlid: ond y cyfiaun a fyd yn hyf megis leo. cap.
Saint peder ſyd yn yn rhybidio ni yn erbyn ge- Pſal. 3.
lynion y phyd a dedſauldeb: na ofnuch dim o-
honynt, a g na chynyrfuch dim, puy (med ef)
a al uneythyr drug i chui, os calynuch daioni?
eythr guyn ych byd os godefuch ermuyn cyfia-

under Saint Paul hefyd pen oed yn anorch-
fygys filur i Crist, yn fynych sy'n anog erail
i'r guir a'r Cristionogaul uroldeb, amhyny (med
ef f'anuyl frodyr) byduch sicir, dysigl ag he-
laeth yn o ystadaul ynguaith yr argluyd, gan
uybod nadyu oferych lafur yn yr argluyd. a
thrachefn f'ymrodyr ymnerthuch yn yr ar-
Hebr. 12. gluyd ag ynghadernid i alu ef: guyscuch ol ar-
fauogaeth duu, fel y galoch sefyl yn erbyn cyn-
luynion diaul, ag y galoch i urthlad yn y dyd
blin, a sefyl guedi gorpheny cubl, yrhain yu
Psal. 13. gairiau priodaul gur grymys gurol, yn nuu y
gobaithiais: nid ofnaf beth auna dyn imi, yr
argluyd yu ymdiphynur fy myuyd, rhag puy i
dechrynaf? Pe guersyle lu i'm erbyn, nid ofnaf
fynghalon a phe i rhodiun arhyd glyn cyscod
angau nid ofna niued, o heruyd dy fod ti gida
mi, puy a'm guahana ni odiurth gariaid Crist
pob dim a alaf truy Gristyrhun syd yn fy ner-
Psal. 13. thu.

Dyma'r peth ymae'r prophuyd dafyd y gur
rol frenin yn dyuaedyd, druy ganu urth hol
Ephes. 6. blant duu ag urth i gyd filuyr, chuareuch y guyr
abid y calon chui rymys cymeint syd honoch,
ai gobaith ar yr argluyd, truy ef gunaf urol-
Esay. 40. deb, ag efe a sathr yn gorthrymuyr fely hon
yu'r fuched syd deilung i dyn, yn yr hon y bydir
buu yn gal, yn gyfion, yn ardymeraid, ag yn

urol, urth hyn y mae'r cymhedroldeb auraid ynsefyl, fal nauneler dim gormod na dim rhyfychan, a hyny ymae'r scruthur lan yn dyuaedyd na thro a'r y lau dehau, nag a'r y lau assuy. Psal. 30. Esay. 11. cap.

Ynghylch doniau, rhodion a phruythyr ysbrydglan?

D. Pesaul un syd o doniau yr ysbrydglan?

A. Yrydys yn cael sait o'rhai yma yn y prophuyd Isaias ag ymyscy tadau o'r Egluys. §. yu ysbryd doethineb, ysbryd dealt, ysbryd cyngor, ysbryd guroldeb, ysbryd guybodaeth ne gelfydyd, ysbryd duufoldeb, ag yn diuaethaf ysbryd ofn duu, y doniau yma n'er ysbrydion yma syd ynberphaithiach ynyn arglud ni Iesu Grist nag meun neb aral, Canys cyflaun yu ef o ras a guirioned, ag yntho ef ymae hol gyflaundeb duuoliaeth yn trigo yn gorphoraul, oi gyflaundeb ef ny ni a gymerasom i gyd, yr hun hefyd a rodes i ninan oi ysbryd glan ef: ond o does neb heb ysbryd Crist, nid yu hunu o'r eido ef, os credun i'r Apostol. Ambr. li. de Spiritu sancto. Bernardus in lib. de Dono Spiritus-sanctus.

D. Pesaul phruyth sy'n tyfu o'r ysbryd glan?

A. ymae'r un Saint Paul yn cyfri daudeg o honynt, y cynta yu Cariad perphaith bonedigaidd afol a guraidd in pob daioni erail: heb hon ni all daioni erail gynhydu na phrophidio dim, ag ni elir y gael yntau heb y daioni erail sy'n guneythyr dyn yn da, fal y mae Saint Austin yn dyuaedyd. yr ail phruyth yu lauenid yr hun sy'n rhoi fal y gallo dyn ysbrydaul uasnaethu duu yn leu ag yn lauen, y trydyd yu heduch yr hun sy'n perthynu at gadu guastadruyd medul ynghanol rhyferthuy'r byd yma, y pedu arydd yu diodefdra, yr hon sy'n sefyll urth ode blinder, y pumed yu y myned ne diodefgaruch yr hun sy'n dangos grymystra calon yn discuyl daioni yn dyfod, y chuechedd yu daioni yr hun ni una niued i neb, ond dymyno da i baub. Y saithfed yu haudgaruch hun sy'n deunu ag yn guahad i gymedeithas peraid urth ymdidā ag yn dirion i arferan: yr uythfed yu lonyduch hun sy'n gostung ag yn dofi tonau a saud creulondeb, y naued yu phydlondeb i'n cymydog fel y bythomi couir yn cadu amodau ag adeuid, y Degfed yu cymedroldeb, yr hun sy'n buru allan

bob tyb

*bob tyb o draha a balchder, yr unfedardeg yu ymgaduadigaeth: druy'r hun i'r ymgadun i, nid yn unig odiurth fuydyd ond hefyd o diurth bob drugioni: y deudeg fed yu diuairdeb, druy'r hun y ceduir medul diuair meun corph diuair.*

---

*D. Pa fod ymae ini arfer yn iaun yr adysc ynhylch rhodion a phruyth yr ysbryd glan?*

*A. Yn y mod yma. S. yu os cydnabydun a chalonau caredig o ble ymae'rhain yn dyuod, ag os cloun a chaduynom nerth a phruythyr unrhyu rodion, yn uir ymae'n tuy'n dyfod alan o phynon hol daioni, odiurth dady goleini, hun sy'n gorchymyn ini i daioni ef, ai anfeidraul ai anfesuraul gariad, pen furiod ef arnoni mor helaeth ag anor diandlaud i ysbryd druy Grist, Canys cariad duu (megis ag ymae'r Apostol yn testiolaethu, a dyaul tuyd yn yn calonau ni, druy'r ysbryd glan, yr hun a roduyd ini arol y saithuedras yma, druy haduant Crist, y neb a gredo (med ef) yn o fi fel ymae'r y scruthur lan yn dyuaedyd, phrudiau o dur buuiaul a phrudiant alan oi fol ef, Ond ef a dyuaedod hyn druy'r ysbryd glan, yr hun a gaent druy greduyntho ef, megis ag ymae'r efangylur yn* Iacob. 10. Tit. 3. Rom. 5. Ioan. 17. cap. Esay. 11.

deanglu, Onide heb Grist megis ag y dyuaedod (Saint Hierom) ni al neb fod yn doeth nag yn dealtus.

Na chynghorur, na gurol, na dyscedig, na duyfaul na laun o ofn duu ymae nerth a phruythy y rhodion ysbrydaul yma yn perthyny at hyn (fal y galo'r y rhinuedau duyfaul, a hefyd y prif rinuedau Cardinaul a soniasom am danynt uchod) ueithio ynomi, nerth a suyd gyfraithlaun, ag yn diruystr i berphaithio, ag yn alus galyn y'r ysbryd glan ymhob man yn duysog ag yn uidyd, ag ymaen tuy hefyd yn gunaethyr ini, guedi'n gyru a'n cadarnhau druy'r ysbryd redeg rhagom heb dyphygio rhyd phord gorchmynion duu Canys para rhai bynag a yrrir druy ysbryd, huynt sy'n blant i duu, test yu'r Apostol, ef a fyd ry hir yr aurhon draethu ynghylch bob un o rhodion yma, bob un urth i hun Ond ymae phruythyr ysbryd peraidiaf yn y byd yn calyn, yr huny sydyn yn gosod ni alan ag yn dangos megis preniau phruythlaun a osoduyd yn hir yr Egluys ar ol y dyuaediad yma: pob pren da sy'n duyn phruythau da: Ond pren drug sy'n duyn phruythau drug: Am hyny urth y phruythau chui a geuch i adanabod huynt: y phruyth yma hefyd sy'n dodi hyn o les, fal y galo Cristion foduedi ymdrusio ag ymgadarhau, megis yn ysbrydaul yn erbyn guai-

Matth. 8.

Hieron. in epist. ad Galat. c. 5.

Rom. 8.

thredoed y cnaud: Canys rheoldigaeth yr Apostol sy'n disiomadus, yrhon syd fal hyn: rhodiuch yn ol yr ysbryd, ag na chyflanuch mo chuantau'r cnaud ag ymae'n yscrifenedig meun man aral maru foleduch uaithredoed y cnaud dru'yr ysbryd chui a fyduch fuu.

---

D. Pa rhai yu guaithredoed y cnaud?

A. Yrheini a draethod yr Apostol yn i cylch yn y mod yma. Amlug yu guaithredoed y cnaud, y'rhain yu godineb ne dori priodas, aflendid, diguylidd ra gormoded gãuadoliãt suynion, casineb, lid, ymrysonau terfyscau heresiaeth Cynfigenau, digofaint, ymserthu, guneythyr plaidiau, celainedau, medudod, gulediaua'r cyphelib bethau a hyn: ynghylch yrhain yr uyf i yn ych rhybydio, megis ag y dyuaedais oflaen lau, na chaiph yrhai sy'n gunaethyr y cyfryu bethau, mo deyrnas duu. Galat. 5. Vide Aug. de Ciuitate Dei li. 14. cap. 2. & 3.

Ag ef a gyfultod urth hyny, a'rhain syd bobl i Grist sy'n croeshoelio i cnaud, i pechodau i chuntau ai guydiau, i fod yn fyry Saul y syd yn y cnaud ermuyn rhodio yn ol chuant y cnaud ni alant ryngu bod i duu, ar un Apostol sy'n rhybydio meun man aral, na thuyler chui, nauatorir duu canys beth bynag a hauaf dyn, Aug. de verbis Apostolorũ Serm. 1. Galat. 6.

hyny a fedaf, O heruydyrhun a hauafoi gnaud i hun, o'r cnaud i medaf luguredigaeth : eythr hun a hauo orysbryd, o'r ysbryd y medaf ffyuyd traguydaul.

---

Ynghylch yr uyth uynfyd nededuyduch?

D. Pa rai yu guynfydau cyfraith yr efengl?

Matth. 5. Vide D. Aug. de serm. Domini in monte.

A. Yrhain yn uir ymae Saint Ambros yn i galu gunfydau'r Arglwyd ai fendithion, ag agyfrir orhain uyth ymatheu efangylur yn y modyma.

1 Guyn i byd y tylaudion yn yr ysbryd, canys yntuy pie teyrnas nefoed.

2 Guyn i byd y rhai lariaid, canys yntuy a fedianant y daear:

Luc. 6.

3 Guyn i bydyrhai galarus, canys yntuy a didenir.

4 Guyn i bydyntuy syd a neuyn a sychedcyfiaunder arnynt : canys huynt a gaant i diualu.

5 Guyn i byd y trugarogion, canys yntuy a gaant drugared.

6 Guyn i bydyrhaiglan o galon, canys yntuy a gaant ueled duu.

7 Guyn i byd yrhai syd heduchaul, canys

yntuy a eluir yn blant i duu.
8 Guyn i bydyntuy a diodefont i herlid ai-
hymlid ermuyn cyfiaunder, canys yntuy pia
teyrnas nefoed.

---

D. Paham ymae rhaid cadu y dysceidiaeth yma ynghylch yr uyth uynfyd?

A. Am i hod yn benaf ag yn fuyaf rhan o gyfraith yr efengl, yr hon a dradydod Crist yn Cyfraithiur ni yn y mynyd santaid ai enau i hun, megis ag y gale baub ysturio beth Psalm. 36.
ymae cyfraunder Gristnogaul yn i gynuys ag Luc. 6.
yn i ofyn heb lau phyd: Guedi hyny guybod o Psalm. 15.
honynt na roir i'r cyfiaun mo goron cyfiaunder (fal ymae Saint Paul yn i galu hi) ne obruy traguydaul yn dilafur.

---

D. Beth syd benaf yu nodi ynghylch y dysceidiaeth yma, ynghylch guynfydau?

A. Yn gynta peth ni a dylem farcio, fod Ioan. 14.
ymrafael radau yn i mysc huynt: fal y
mae'n eglur urth order i cyfri: yn nesaf at hyny Luc. 6.
da oed nodi, fod yn rhoi alan ymhob un o'r
gradau, dau beth o'rhain ynghyd, un yu guai- 1. Petr. 3.

thredoed y rhinued ne haudiant a gunfyd y by-
uyd yma, fal y dyuaedant: a'r lal yu gobruy o-
Esa. 33. fyuyd traguydaul sy'n adas i'r haudiant: a hun
a elir i alu deduyduch yn yngulad ni S. Teyrnas
nef, Ond megis ag y mae'rhan gyntaf yn duyn
lafur a chaleduch i gristnogion, fely y mae'n
Iacob. 4. diuaethaf hon ym hob grad a osoduyd, yn rot
cyssur arol maint y gobruy a roed alan, ag y
mae'n ysmuythau'r lafur, y chuys a'r blinder
sydraid i baub i odef ymyluriaeth gristnogaul,
Canys ni choronir neb ond a'mylado yn gyfrait
laun pob un a gaiph i gyflog i hunan yn ol i lafur
y pethau a hauo dyn, yrheini a fedaf, megis ag
y mae athrau'r cenedlaethau yn traethu yn ho-
laul: Am hyny y mae'r argluyd cyn dodio ho-
no ef i hun yn Iustus erchynedig i'r byd, y mae
ef yn yn yn cyphroi i dyscuyl am i dyfodiad ef:
2. Tim. 2. uele (med ef) dyma fi yn dyfod arfrys a'm ta-
ladigaeth i roi i baub yn ol i uaithredoed, y neb
1. Cor. 3. a orchfyga myfi a genataf i hunu eisted yn fy
thron, yrhun beth yu'r didanuch uchaf traguy-
daul perphaithiaf.

Eythr barn ag opinion y byd ynghylch de-
duyduch syd uag ag ofer, yrhun sy'n somi ag
yn coli lauer Canys y bobl gyphredin sy'n barnu
Galat. 6. yn deduyd y rhai cyuaethogion, yrhai galuys,
a rhai anrhydedys meun audurdod a gogoniant
ag yn medianu golud a chouaeth y byd arol i

euylys, ag yn buu meun didanuch: eythr Crist yngurthuyneb i hyn, guae'r hain: ag Esai sy'n crio yn diragrith yn erbyn y bobl yn y mod yma O fymhobl y rhain sy'n dy Sioimi, ag yn rhuystro luybr dy gamrau, guyn i fyd y bobl y mae'r arglwyd yn duu udynt, gan i ogonedu ef bob amser, megis audur i fuu yn da ag yn deduyd. Esai. 5. Psal. 143. Amos 6.

---

Ynghylch cynghorion y'r efengl:

D. Parhai a eluir cynghorion yr efengl?

A. Yrhain, er nad ydynt mor angenraidiaul i ynill iechyd traguydaul, ag na elir hebdyntuy, meun mod aral yn y byd yu cael: etto y mae'n tuy guedi i Grist i gosod, ai cynghori, ermuyn: bod y phord at iechyd traguydaul yn haus ag yn diruystrach: Am hyn rhaid yu cadu yn dyfal y rhagor a osododd y scruthur lan rhung gorchmynion, a chynghorion, megis ag y galom i dealt fod yn ordeinio gorchmynion yn angenrhaidiaul yu i cadu: eythr cynghorion a rodir fal y galo dyn i cymeryd os myn megis peth yn helpu i gadu'r gorchmynion yn berphaith, hyn a unaeth yr Apostol, pen chuanychau roi dysc ynghylch cadu moruyndod: Am foruyndod (med ef nid oes genyfi orchy

Aug. ser. 61. de tẽpore in Eucheridion. c. 12.
Cor. 7.
Mat. 19.
Luc. 10.
1. Cor. 9.

mynyr Argluyd Ond yruyſi yn rhoi cyngor megis un a gafod drugared ar lau duu i fod yn phydlaun yma ymae perthynaſaul hyny adyuad Saint Auſtyn yn eglur, vn peth yu cyngor, peth aral yu gorchymyn, yrydys yn rhoi cyngor am gadu guyryddeb ne maruyndod, ynghylch ymprydio odiurth uin a chig, i uerthu'r cubl, ai roi'r tylodion. Ond gorchymyn a roduyd ar gadu cyfiaunder ar droi o dyn odiurth drug, a gunethyr da: y neb aurandaur ar gyngor ag ai gnuel yn euilyſcar a gaiph fuy o goniant: Ond y neb ni chyflauno'r gorchymyn ni al hunu diaicnodiurth boenau odierth i ydyfeiruch i helpu: ymae Saint Ambros yn cytuno a Saint Auſtin urth yſcrifenu fal hyn, nid ydys yn gorchymyn mo'r peth y ſyd heb lau'r gyfraith, ond i anog druy gyngor, ai dangos megis peth ſicraf: heb lau hyny cyngor y ſyd yn guahad rhai euylyſcar, gorchymyn ſyd hefyd yn rhuymo yr aneuylyſcar, ag nid anhebig yu barn Saint Hierom fal ymae i airiau ef yn dangos pen rodir cyngor ymae deuis i'r neb a'm roiph: Ond pen roir gorchymyn, mae angenrhaid, ne ruym i'r neb yrhodir arno: Ond muy o dal ne obruy (med ef) a haudaf hyny auneler heb ruym.

Ambr. ep. 28. ad Ecclesiã vercellem.

Hier. aduersus Iouinianum, de custodiẽda virginitate, & Eustochium epistol. 12.

D. Peſaul

D. Pesaul un y sydd o gynghorion i'r efengl?

A. Nid yu berthynasaul yn hyn ofan gyfri'r cubl ond tri y sydd o rhai penaf, Tylodi, diuairdeb, ag ufudddod fal y dealtasont yn henafiaid ni yr Scruthur lan: Tylodi sy'n perthyny at yrheini sy'n gadel ar unuaith y cubl, fal y galont yn berphaith galyn Crist urth siampl peder Abostol, diuairdeb sy'n perthyna at yrheini a disbaddasont i hunain ermuyn teyrnas nef, ne fal y dyuad Tertulianus yn efnuchiaid o i euylas i hunan, Arheini sy'n cupplau ufudddod sy'n ymurthod yn gubl, nid yn unig a chuantau, eythyr hefyd ai euylys i hun, ain yrhain y mae'r y scruthur lan yn i rybydio pen fythont huy yn ymroi i hunain yn Cubl dan orchymyn ag euylys rhai eraill: y mae Crist yn berphaith siampl o odidaugruydd yr efengl, nid yn unig yn dyscu ar air y cynghorau yma megis ag y dangosun y lleiges, Ond hefyd yn siampl o santaiddiaf fuched ef i hun, ag ef a sicraodd hyny ini, yr hun pan oedd gouaethog, a unaeth i hun yn dylaud er yn muyn ni, fal nad oedd gentho le i roi i ben i laur yntho: yr hun hefyd oedd yn foruyn: ne nuyrydd uedi i eni, o uyrydd ag yn briod i r santaidd uyryddon, ag a drigodd fyth yn gariad

Mat. 19.

Actor. 4.

Luc. 9.

Matt. 16.

2. Cor. 8.

Ambr. li. de virgin.

Luc. 2.

diuairiaf ol: yrhun a fu mor ystig yn cupplau
Philip. 2. ufuddod, gan fod yn ufud i'r foruyn i fam, ie ag
Ioseph saer, ag ai gunaed ef yn ufud yn dad hyd
farufolaeth ar y groes megis ag y mae'n testio-
Rom. 5. laethu o hono i hun, mysi dyscynais o'r nef nidi
uneythyr euylys fyh un, ond i euylys ef a'm
Ioan. 6. dan fonod.

---

D. Ymhale ymae Crist yn cyngor i ty-
lodi'r efengl?

Mat. 19. A. Yn matheu yr efengylur, yrydys yn
dangos yn y fan sy'n calyn nessaf ar ol
cyfri gorchmynion duu: ynghylch y cyfry
Hier. epi- orchymynion y diuaedoed urth baub heb dyny
stol. ad alan neb, os myni di entrio i'r byuyd, cadu'r gor
Helydo- chmynion, a chuedi hyny ef a rod alan gyngor
rum. ynghylch calyn tylodi euylyscar, meun bath
Mat. 19. nealduaul ar airiau, yrhun fath a dauod yn
euis y neb ai cymerau, pen dyuad yr argluyd hyn
os mynidi fod yn berphaith, does a guerth y
cubl a'r a fedi a dod i'r tylodion ag di a gai dry-
sor yn y nef dyred calyn fysi, yma nid yu'r
Argluyd yn unig yn cynghori fely: eythr hefyd
yn i anog ag yn gosod alan faint y tal, fal y gu-
nelyd dynion yn fuy euylyscar i gymerydi gyn-
gor gan yn lithio an cyssuru. Canys ymae ef yn

adau y dau hyny i ben fal y capho ef a'm adaue
a holda'r byd, ag a fytho dylaud ermuyn Crist,
drysor yn y nef, ai derbyn ar i ganfed, a media- Leo in ser.
nu byuyd traguydaul, hun syd anodi'r cyuae- de omnib.
thogion dyfod ido yr Apostolion oedynt gynt sanctis.
yn arfer ag yn cymeryd arnynt y cyfryu dylod i
yma, yn enu'rhain y dyuad Peder urth Grist
yn hyf, uele nyni a amadausom ar cubl ag a Aug. lib.
doethom ar dy ol di, hedlau'rhain yr oed y 17. de Ci-
Cristnogion yn' echreuadyr Egluys yn yr un uitate Dei.
phunydyrhain megis ag ymae Saint Luc yn
testiolaethu a uerthasont a fedent ag a roesont
yr Arrian aunaethont o'rheini yn gyphredin,
ai harfer fal na alau neb dyuaedyd am dim, mae Luc. 6.
ef y pioed, O heruyd yn i myschuynt ef a dri-
god pob peth yn gyphredin heb ranu, yr hun dy-
lodi a fyn ymurthod o honynt yn euylyscar ag Matt. 19.
yn gubl ai cyfoeth, fal na buont perchnogion o
dim o'r neiltuag ymay mae le i'r yma drod godi
daug Tertullian: da yu rhoi golud rhung y tylo-
dion, Ond guel yu i rhoi ar unuaith i gyd, ar-
fedr calyn yn arglуyd ni, a chuedi'n rhydhau
odiurth bob gofaluch, duyn tylodi gida Christ,

D. *Pa le yrydys yn gosod a̦lan gyngor ynghylch diu̦eirdeb?*

A. *Yrydys yngosod a̦lan hynyyn gystal ynyr Efengylion ag y lythyrau'r Apostolion hefyd, Canys ymae Cristyn canmol y rhyu̦ogaeth hu̦nu̦ o efnu̦chiafyd, ai dysbado̦di hunain ermu̦yn teyrnas nef, Ag rhag tybied ohonomi mae, gorchymyn oe̦d, ag nid cyngor, ef a dyu̦aedod yn y man: y neb a a̦lo gymeryd, cymered: yrhu̦n air syd megis gair yr Arglu̦yd yn cynghori, (fal ymae Saint Hierom yn dealtyn da) ag yn anog i filu̦yr ef y geisio gobru̦y diu̦airdeb: megis pe i dyu̦aedau, ymla̦ded y neb a a̦lo ymla̦d, gorchfyged a gorfole̦ded, y neb a a̦lu̦neythyr hyny a gafodi ro̦d: Ond ef a gafo̦d pau̦b i rho̦d (megis ag y mae'r un Saint Hierom yn testiolaethu) ar ai gofyno ag ai chu̦enycho, ag a lafurio yu̦ chael: Canys ef a roir i bau̦b ai gofyno, a'r neb a gaisio a gaiph, ag ef a egorir i'r neb a gnocio, i'rhu̦n dieu̦eirdeb y mae'r scruthur lanyn ordeinio taladigaeth: Ond i u̦yrydioneb ne foru̦yndod taladygaeth aniu̦edigaul Canys y neb ni lychuinu̦yd u̦rth u̦raged ag a drigasontyn u̦yrydon ne'n foru̦yniou sy'n sefyl yn difrycheulys gar bron uchel*

Mat. 16.

Esa. 56.

Hier. lib. 1. contra Iovinium.

thron duu, agyn canu caniad neuydgar bron duu a'r oen, agyn calyn yr oen i ba le bynag i'r elo, yr Apostol sy'n dyuaedyd yn eglur, da i dyn na chyfyrdo a merch, a thrachefn ynghylch guerydon nid oes genyf orchymyn yr Arglyd. eythr yruy fi yn rhodi cyngor fal una gafod drugared i fod yn phydlaun: am hyny tybied y ruyf mae daydiu tros yr angenrhaid presenol i dyn fod fely, a hefyd urth y scrifenu o uraged gueduō priodedhi (med ef) y neb a fyno yn unigyn yr arglud, ond deduyd ach a fyd os trig fal y mae, yn ol fynghyngor, ag y ruy'n tybied fod genyf i ysbryd duu, mae Saint Ambros yn dyuaedyd gida'r Apostol yn uych gan yscrifenu y gairiau yma: Nid heb achos y canmohlir guraig da, ond guel yr hoir or blaen gueryd duuiaul gan fod yr Apostol yn dyuaedyd, y neb a brioda i ueryd ne i foruyn, sy'n guneythyr yn da, ond y neb nis prioda sy'n guneythyr yn uel: Canys hon ni phriod ir syd ai medul ar bethau duuiaul y lal ar bethau bydaul: y nail yn rhuym meun culum priodas, y lal yn rhyd odiurth y rhuymyn, y nail tan y gyfraith, y lal dan ras: da yu priodas druy'r hon y cair hiliogaeth a suggession i dyn: eythr guel yu guerydondeb, ne foruyndod druy'rhon y cair etifediaeth nefaul: druy uraig y doeth gofal, druy ueryd y doeth iechyd, mae'r diueirdeb yma yn gofyn y anym-

roi o dyn druy gyngor hamdenys i fuy yn lan o diurth fudredi cnaudaul ne i spledach masuedys a'buu heb briodi yn diodinebus, fal y bytho santaid o gorph ag enaid, Ag at hyn yr ydoed yr Apostol yn edrych pen dyuaedod: y neb yn i galon a roes i fryd yn sicir, heb i uthio oi anfod, ond bod ai euylys yn rhyd, ag a farnod hyn yn i galon, gadu i foruyndod y mae ef yn guneythyr yn da.

---

D. Pa fod yr ydys y gosod a lan i gyngor yr efengl ynghylch ufuddod?

A. Mae'n arglUyd ni Iesu Grist, nid yn unig yn siampl oi santaidiaul fuched fal y dyuaedasom uchod: eythr ai air yn gosod a lan ag yn dangos rhesum perphaith o'r usuddod yma: Canys ef a doeth nid i uneythyr i euylys i hun, ond euylys i dad, ai euylys huynt dan yr heini yr ydys yn darlain i fod ef: ag ef a doeth yr un Crist i uasanacuthy, ag nid i gael i uasanaethy: yn gymaint ag yr ymostungod ef i hun uedi uneythyr yn ufud hyd at faru folaeth, ie maru folaeth y groes, a chued i hyny i'n cyphroi ai air i'u galyn, ef a dyuad, os myn neb dyfod ar foli guaded ef i hun a chymered i groes arno, a chalyned fi, y gairiau yma er galu o rai i cyme-

*rydhuynt yn da fal rhai adyuaedesyd urth baub yn gyphredinaul · etto ymae'nt yn nealtual, ag yn berphaithiach yn perthyny at yrheini sy'n nesaf ar y galont yn ymroi i galyn Crist: fel na fynonthuy fod meun modyny byd yn uyr udynt i hunain: ag y mae'n tuy'n lafurio i fuu urth fedu lag euylys un aral, pen fythontuy yn calyn yn euylyscar orchymyn ag euylys un aral a deuisasont yn le Crist, ag ef a fu gen yr Egluys erioed ryugyfryu ragoraul Gristnogion a dylynuyr Crist, gan roi ymaith i euylys i hunain, rheolur yrhain (megis ag ymae Saint Basil yn dyscu) syd yn le Grist, a chan i unaethyd fel tygnefedur rhung duu a dyn, syd yn ophrumu i duu ufuddod iachaul, O heruyd megis ag ymae'r defaid yn ufudhau'r bigaul, gan fyned i'r phord ymae ef yn i tuyso, fely ymae'n angenrhaidiaul i'r cyfryu bobl: yrhain sy'n euylyscar i arfery duuoldeb ymaiu ufudhau i penaethiaid ag na bythont ry fanul i uybod beth yrydys yn i orchymyn udynt (os yntuy a fydant dibechod), eythyr fod yn euylscar i gyflauni y peth a orchymuyd udynt, ynghylch y penaeth yma Saint Bernard a Saint Paul sy'n ardclui yn bod yn rhuymedig i'n urando ef sy'n le duu, megis duu, yn enuedig meun pethau nid ynt yn erbyn duu a'r Egluys (megis ag y mae'r hen histori au yn manegi) a oed bob amser gent hi ymysc yrhain*

*gumpeini o uyr duuiaul cerefydaul , yrhain yuch ben arfer a siampl y bobl gyphredin ai roesent odiurthynt ar unuaith i hol da byd, ag a madauasent a hol d danuch cnaudol gan brophesyduyn olau, ag ymroi i hunain yn holaul i santaid ufuddod gan dirydu i hol uaithredoed arol siampl ufuddra Crist, ag arol perphaithruyd dysciblaeth yr efengl gan ymurthod ai euylys i hunain, ag o hyn o beth ymae genym testion tyladuy, Saint Basil, Saint Austin, Saint Hierom, Saint Benet, Saint Gregori, Cassian a Saint Bernard ag erail anifeiriaul o brophesyduyr o perphaithruyd yr efengl :ag ym hob peth dylyn buched fanachaid.*

---

*D. Yn fyr beth syd yu farnu ynghylch cynghori efengl?*

A. *Hyn ynuir, i bod huynt yn anog, ag yn gymorthuy cymuys, i roi arfau i'r gueiniaid yn erbyn lithhant y byd ar cnaud: hefyd i helpu helynt guyr da i fod uel uel yngyrfaguir duuoldeb, yrhain aunant yr enaid yn rhuydach i gyflauni suydau cerefyd a guasanaeth duu: arhain heb lau hyny ( megis ag y dyuaedasom ) sy'n fudol i ynil gobruy o fouyd traguydaul, a muy o ogoniant yn y nef, ag yn uir*

*trynodeb*

trynodeb o berphaithruyd yr efengl sy'n perthyny at ef yn, i lafurio i gael cariad perphaith ynfuy y gelych a chalyn o honot Grist: Ond dy di a gylyni grist, os rhoi dyfryd, ath lafuryn fuy af y gelych ith lunio dy hunyn yr un fath a Christo hun oedyn dylaud, ag yn uueryd, ag yn ostungar i erail, ag yn ufud hyd farufolaeth ar y groes. Os lafuri di gida Saint Paul heb dyphygio, at y pethau syd oth flaen, dan escluso y pethau syd othol: ag ymegnio beunyd i gyrheudyd ariandlus galuadigaeth nefaul: agurthod yn y cyfanser ath euylys dyhun, ai gostung hi dan aral ermuyn duu, fal y gelych dylyn yn oystadaul rhodion a doniau a fythont guel, a deuiso yrhan orau, ai chaduyn phydlaun ag yn oystad hyd y diued.

---

## Inghylch pedu ar diued diuaeth af dyn

D. Pa rai yu'r rhain a eluir y peduar diued diuaethaf dyn?

A. Yrhain yma, Angau, Barn, uphern a theyrnas nef, ef ai geluir huynt yn diued diuaethaf, am i bod yn diuaethaf, o'r pethau a'r alant damuynio i dyn, Canys angau (fal y mae'r dihareb) yu diued pob peth, barn Eccle. 7. Deut. 31.

duu sy'n calyn maruolaeth ne angau, megis ag y mae Saint Paul yn dangos druy'r gairiau yma, ef a ordeiniuyd i bob dyn faru unuaith guedi hyny barn altuaul sef yu y mae pob dyn yn i derbyn pen fo maru, a hefyd y farn dyuaethaf gyphredin yr hon y mae paub yn i discuyl sy'n niued y byd.

Bernard. Serm. de permodijs medijs & Nouis.

Hebr. 9.

Yrhain a fuont fairu meun pechod maruaaul a farnir i uphern i boenau traguydaul, erail a aethont o'r byd yma a guysc priodas amdanynt a chariad perphaith, a ant i fuynhau y bouyd traguydaul sef teyrnas nef, dyma'r peth y mae guirioned y'r euengl yn i ardelui yrhain a unaethont daioni a ant rhag dynt i'r buuyd traguydaul a'rhain a unaethont drugioni, i gofbedigaeth traguydaul, Canys mab y dyn a dau yngogoniant i dad, ef ai angelion, ag yno ef a dal i baub, ar ol i uaithredoed.

Luc. 16.

Rom. 5.

---

D. Pa fod y mae'r scruthur lan yn dyscu ynghylch maru folaeth?

A. Megis druy dyn y doeth pechod i'r byd, ag angau druy bechod, fely yr aeth angau dros bob dyn, mal y mae Sainct Paul yn manegi, megis ag y mae Angau yn sicraf peth, fely y mae'n anhousaf guybod yr aur i dau, ca-

Rom. 15.

nys ni uyr dyn moi diued etto nid oes dim si-
crac nag angau, amhyny yrydys yn scrifenu,
y'r peth huny syd yn yn dyscu beunyd, nyni i
gyd a fydun feiru, ag a lithru'n i'r dacar megis
dufroed ni dydynt yn dyfod yn i urthgefnyrhun Eccles. 2.
beth y mae Ecclesiasticus yn i gadarnhau, gan
dyuaedyd y mae hediu yn frenin, ag y foru'n fa- Eccles. 10.
ru, a hefyd pen fo maru dyn, ef a gaiph Ser-
phod, guestfiliau, a phryfed yn y tifediaeth,
ag o blegyd fod yn rhaid ini faru ag heb uybod Mat. 25.
pa bryd, amhyny yrydys yn yn rhybi-
dio cyn fynyched yn yr efengl i fod yn barod
Guiliuch a hefyd byduch barod: canys ni uy-
doch pa aur y daumab y dyn, eythr nyni a fy-
dun barod i groesafu angau os myfyriun yn
ystyfnig, ag yn disiapri dros yn holfouyd hyn
yma a scrifenuyd guna gyfiaundr cyn dy faru
canys yn uphern ni elir cael morymborth, me- Luc. 12.
gis ag y dyuaedod Crist, hefyd y mae'r nos yn
dyfod pen ni al neb uaithio, rodiuch trega-
phoch oleini, rhag i'r touylni dyfod arnochi, Apoc. 3.
ach dala: da iaun y mae'r prophuyd yn dospar-
thu rhung marufolaeth y rhai cyfiaun, a rhai
drygionys, marufolaeth y rhai drygionys y syd
uaethaf ol, megis y rhain sy'n meru megis yr
Iudeuō gurthnysig meun pechod heb uneythyr
penyd am dano, ag fel y mae'n tuy yn meiru,
ag yn caeli cosbi yn draguydaul yn uphern gi-

dar o'r cyfiaunys ne'r daionys ymae'n testiolae-
Psalm. 33. thuyn ymod yma, gurthfaur garbron y'r Ar-
gluyd yu marfolaeth i saintiau, canys udyntuy
Prouer. 1. yn uir nid yu marfolaeth dim aral, ond diue-
diad perindotaeth daearaul a gofidiau byuyd
yma, ag megis terfyn, a hun esmuyth, ne
gusc diofal a dechreuad y guir fouyd, i fyned i'r
bouyd traguydaul gogonydys, i fedianu hun yr
Apostol gan darfod i nynu o faur serch, a chan
laruablino a'r bouyd yma a dyuaedod, yruy'n dy
myno fod yn rhyd, a bod gida christ: guyn fy-
Corint. 5. dedig yu'r gueision yrhain pen delo, sy'n guilied
a guyn fydedig yu'r meiru, yrhain ydynt yn
meiru yn yr argluyd, y cyfiaun pen odiuedo an-
Heb. 10. gau ef sy syd meun esmuythdra a didanuch.

---

D. Pa fod ymae'r scruthur lan yn yn rhy-
bydio ynghylch y farn?

ERchynedig ag arsuydys yu cuympo yn lau
Eccles. 12 duu buu a Christ yn ustus an barnur. gar
bron gorsed yrhum ymae'n rhaid i'r cubul ym-
dangos ag i bob un roi cyfri drosto i hun, Canys
1. Cor. 4. ef a dug duu i'r farn yrhol bethau ar a au-
naethuyd bid drug bid da Amhyny aros y
farn yma syd beth erchynedig ag arsuydys, nid
yn unig i'r pechaduriaid, eythr hefyd i'r sain-

ụiau o herụyḍ hynẏ y prophụyd Dafid gan ofni y farn yma, Adyụa eḍeoḍ yn ḍyfal, naḍoes i gyfraith ath ụas, o herụyd nidoes neb a gyfiaụnir gar dy fron di (hefyd Iob) a ofnoḍ y farn yma peirhon ai fod yn uirion oḷ ag a fanagoḍ i ofn ar gairiau yma: Bethaụnafi pen i gyfodo'r Arglụyd i farnu a pheth a attebaf iḍo, pen fytho'n fy holi, yrụy'n ofni duụ bob amser megis tonnau'r mor sy'n ḷenui ar fucha, ag ni aḷaf oḍef moi trụmdr, myfi a ofnais fyn gụaithredoed gan uybod nad arbedi un pechadur. Psal. 61. Iob. 1. Iob. 31.

Yn ụir rhaid yụ ofni yr ustus hụnụ, gaḷu'r hụn ni eḷir moi ocheḷ, doethineb yr hụn ni eḷir moi Sommi, na gụyro i uniondeb, na galụ yn ol, ne neụidio i farnedigaeth, o hụn yrysgrifenụydyn y moḍ yma, y Serch ai ḷidiaụgrụyḍ y gur (Sef yụ Crist yn barnur) ni arbed ag ni phardynaf neb yn y dyḍ dial ag ni aḍ i dyhuḍo drụy erfyniad neb, ag ny fyn ḍerbyn na rhoḍion ne Anrhegion ermuyn i ransumu, hefyd hụn (megis na aḷ neb i escusodi i huno ânuybodaeth) sydyn rhoi rhybyḍ i baub o hono i hun, ag oi farnedigaeth yn y moḍ yma: myfi a gymeraf famser ag a farnaf ar ol cyfiaụnder, myfi yụ'r arglụyḍ sy'n chụilied calonau ag yn profi Arenaụn hụn sy' rhoḍi i baụb arol i fuched a phrụyth i dichelion, my fi sy'n dyfod i grynhoi ag i gyniḷ ynghyd i guaithredoed a me- Hier. 17. Psal. 7.

ḍuliau hoḷ nasiụnau ag yntụy agant ḍyfod i ụe-
led sy'n gogoniant, ond ynghylch dyḍ farn hụn
hefyd a elụir yn yr scruthur lan, dyḍ yn arglụyḍ
2.Petri.3. ni, dyḍ digofaint, y dyḍ maụr, dyḍ erchynedig
arsụydys, peder Apostol sy'n dyscu yn y moḍ
yma.

Canys y dyḍ yr arglụyd a daụ megis ḷeidyr y nos, yn yr hụn y passia'r Nefoeḍ drụy faụr drụst a rhuthriad, a'r elefenau yn ụir o ụres a doḍant a'r daear ar hoḷ ụaith syḍ ynthi a lysc, Achen fod yn rhaid hyny y gyd ymoḷụng, pa fath ḍynion y dylech fod meụn santaiḍ ymụreḍiad a duụoldeb: yn discụyl ag y brysio at ḍyfodiad dyḍ yr Arglụyd, yn yr hụn y lysc y nefoeḍ ag a'molyngant, a'r Elefenau a doḍant.

Megis ag y galom yna gael Crist yn ustus
trugarog, y dyḍ hụnụ (Pen trasidont y nef
a'r daear) drụy laụenyḍ, a didanụch godi-
daụg yụ'r cyngor yma, hụn y mae'r gụr doeth
yn i roḍi ini, gan ḍyụaedyd, cymer fedigini
1.Cor.11. aeth cyn dy glafychu, hola ac esammia dy hụn
cyn dyfod i'r farn, a char bron duụ ti a gai
drugareḍ, canys yn ụir os barnụn ni nyhu-
nain, ni fernir dim honom, in y diụed ef a
fyḍ daioni i'r neb a ofno duụ, ag yn y dyḍ y
bytho farụ, ef a fyḍ guynfydedig.

*D. Pa fod y mae'r Scruthur lan yn yn rhybydio ynghylch uphern ai phoenau*

A. *Megis nad oes dim druanach na'g angau, na dim muy echryslaun na'r farn, yn bendifade i blant y byd yma, yr hain sy'n pechu yn gyndynys ag yn urthnysig, fely nid oes dim, mor anodefus nag mor afluydianys ag uphern ai phoenau, canys (megis y mae'r yr scruthur lan yn testiolaethu) yno ymae uylofain a rhincian daned, yno i pryf huy ni syd fyth faru: ai tan huy ni diphyd fyth: yno ymae'r tir yn laun touylni, a chuedi i hylio a niul angau, yno ymae eulun angau yn prefulio, heb nag order na threfn, ond ofn ag achreth traguydaul, yno ymae rhan itifediaeth huy meun lyn safiedig, hun sy'n losci meun tan a brimstō yrhun yu'r ail faruolaeth: yno i cosbirag i gofidir huy dyd a nos yn draguydaul, ag y cepher fod yn uir y peth a ragdangosod yr ustus cyfiaun, i damuyniaf i'r heini a gosbir yn uphern, druy'r gairiau yma, uele fyngnasuaethuyr i agaant fuytta, a chuithau a fyduch neuynog, uele fynguafnaeth uyr iagant y fed a chuchui a fyd arnoch syched, uele fynguasnaethuyr, i a lauenychant, a chuithau a* Math. 8. Esai. 66. Apoca. 21

uraduydir, uele fyngueiſion amclodfaurant druy gyrchneitioto lyuenyd calon, a chuithau auaeduch o dolur a gofid calon, ag a uduch o gyſtud ysbryd, am hyny y prophuyd brenhinaul
Pſalm. 2. ſyn i hybydio ag yn galu a'r yr hol frenhined a'r tuyſogion, ag yn goſod garbron i lygaid, i poenau a'r cosbedigaethau ſy'n damuain i'r drugionys gan i rhybydio yn yſtyfnig yn y mod yma ag y naur o freninoed dealtuch a byduch ſynuyrol, a barnuyr y daiar cymeruch dyſc (canys y
Sap. 6. neb y ſyd fuyafi alu ai ruyſc a farnir ag a gosbir yn drumach ag yn toſtach) guaſanaethuch yr arglu'd druy ofn, a chyrchneiduch o lauenyd druy dychryn, cymeruch adyſceidiaeth rhag i'r arglu'yd ſomgaru, rhag i chuithau ſyned ar gy-
Luc. 12. fyrgol alan o'r phord uniaun pen arfyrder yr enynno i digofaint ef, ag o heruyd hyny y duad
Mat. 19 Criſt urth baub, ofnuch ef guedi ido lad, ſyd, gentho aluy udanfon i uphern, ofnuch hunu, canys deleithuch y byd yma, nid yu yn parhau chuaith hir, eythyr y boen a'r gofid yn uphern y ſyd draguydaul.

O Deyr-

*O Deyrnas nef?*

*EFa ar luyaud duu e'r dechreuad y byd yu ethol odigion, deyrnas nefaul, deyrnas dragouydaul, deyrnas tralodau guynfydigaf ol, yrhon ymae Saint Paul yn i chophau yn cyhoed: nad yu gofidiau trapherthau na gorth rymau yr amser yraurhon yn haedu nag yn rhy gludu y gogoniant a dangosir ini yn ol, y pethau ni uelod lygat, ag ni chlyuod clyst, ag nid escynasont i galon dyn, y pethau a barotaod duu i'r saul ai carant ef, o Caerselem dinas santaid neuyd yn descin o'r nef, guedi i duu i pharatoi ai thrusio megis priodas ferch yu gur, ynghylch hon Saint Ioan gan i fod yn gvfranog o gyfrinachau duu ai clybu, ag y syd yn yscrifenuuele Babel duu gida dynion, ag ef a drig gida huynt, a huy a fydant boblido ef, a duu i hun a fyd i duu huy, a duu a sych ymaith yr hol dagrau o diar' i lygaid, ag ni fyd marufolaeth muy, na thristuch, na lefain, y pethau cynta aethont ymaith, ag myfi a glyuais trumpet maur mal lais lauer o dufroed, ag mal lais taranau cedyrn yn dyuaedyd Halleluy a canys yn argluyd holaluaug a deyrnasod, amhyny lauenychuch, druy gyrchneidio, a*

1. Math. 25.

22. Mat. 4.

Apoc. 21.

Dan. 12.

rodun ogoniant ido ef, o blegid dyfod Priodas yr Oen bendigedig, a guynfydedig yu yrhai a eluir i ſupper yr Oen, a muy guynfedig yntuy ſy'n dyfod heb leſteir na phetruſni yn y byd, ag yn aruain gida'ntuy uiſc priodas megisi galont orphouys yn heyrnas nef, gid ag Abraham Iſaac a Iacob, ag nid yu'n rhaid gofyn, argluyd Puy a drig yn dy babel? ne puy a'orphouyſſa yn dyfynyd Santaid di: yr atteb ſyd barod, y neb a rodiaf yn berphaith ag yn difagl ag aunel cyfiaunder, agos byd muy dileithuch genyt yn gairiau Criſt, y neb aunel euylys fynhad, hun ſy'n y nefoed, ef a gaiph entrio i Deyrnas nefoed, Santaid yu'r Dinas yma, ag hefyd y hi ſy'n eael dinaſuyr ſantaid ag nid af dim anlan na dim lugredig idi hi.

---

D. Pa fud ne phruyth a elir i gynil o'r hol dyſceidiaeth o'r peduar peth diuaethaf?

Vide Chryſo. epiſt. ad Theodoſiũ lapſt.

A. Ymae yn brophydiaul ini, yn gynta adynabod y pethau yma, ai myfyrio yn dyfal, megis ag y galom yn yr hun fath yn deuny ny hunain, o diurth bob gofal aſtudiaeth a chariad hol bethau guagaid ofer a ſerfyl yrhain ynt yn y bydyma, Canys (y prege-

thur a dyuad,) ofered hol ofered, ag nid yu'r cubul ond ofered, guelais yr hol bethau ar yr y sy dan yr haul, a'r cubul nid ynt dim ond ofered a gofid ne drapherth yr ysbryd.

Pen darpho ystyrio y pethau yma ymae'n tuy'n deynu dyn escudruyd ehudruyd nid yn unig i'murthod a medyliau a gafalon daearaul eythr hefyd yngyrru ofn arno ef, ag yn iphruyno rhag rhydit i bechu, rhag bod meun mod yn y byd yn ehyd i hyny, o heruyd baham y mae'n yscrifenedig yn y mod yma, yn dy hol uaithredoed, medul am dy diued, ag ni unei fyth bechod, heb lau ystyriad y pethau hyny sy'n anog y doeth, na unelo dim yn i hol fouyd yn rhy benrhyd, eythr ystyried diued pob peth, a chuedi ido ystyrio i diued, myned rhagdo a cherded y phord gyphredyn, heb oguydo alan o'r phord ianiau; nag ar y lau dehau nag ar lau asu, Canys cophaad arhyn, a chynheliad y peduar peth yma sy'n bedisade yn peri ag yn guaitho ynomi ofn duuhuu yu phyno y guir doethineb, a chaiduad yr hol rinued, ag yn athrau angenrhaidiaul yn hol fouyd dyn, ag yn yn cryfhau ag yn yn luydo ymhob astudiaeth gyfiaun, Canys ofn yr arglued sy'n ymlid alan bechod, a'r neb nid yu'n ofni, ni al fod yn cyfiaun, yr hain sy'n ofni'r arglued a gaisiant y pethau a ibodlanant ef, ag a paratoant i calonau ag a santaidiant i henai-

*diaugar i fron ef, yn y diued, yrhain sy'n ofni'r Arglwyd a gaduant i orchmynion, agyn cymerydymyned, hyd oni uelont ef, gan dyuaedyd onys gunaun i benyd, nyni a guympuyn yn nuy lau'r Arglwyd: eythr plant y byd yma, yrhain sy'n caru ofered, agyn argaisio celuyd, ag yn lauenychu, pen unelont drugioni, ag cyrchneitio o lauenyd yn i enuired, nid oes mo ofn duuyn i golug ag nid udynt yn guneythyr cyfri o dim aral, ond o'r peth ymae'ntuy'n i fedul, Cenedleth heb drugared, heb gyngor, ag heb doethineb, oduu na bydet doethio a dealtys, a gyn rhagueled y diued. ymay gelir gueled druy esperiaeth beunyd y peth a dyuaedod Iob santaid, ymae'ntuy yn dal yni duylau Tympan a Thelyn ag yn lauenychu urth glyued yr organ ymae'ntuy yn trailio i hamser druy lauenyd a didanuch, ag argais yn descinant i uphern yn disyfyd, fely ymae i chuerthin guedi gymyscu a gofid, a dolur, a galar sy'n due du i didanuch.*

D. Beth yu Sum a chrynodeb y cubul ar a gynuysuyd yn y lyfr yma?

A. Sum yrhol uaith yma a gynuysuyd meun dau beth. S. doethineb a chyfiaundr Cristnogaul, at doethineb ymae'r capituliadau yma yn perthynu, Sef yu ynghylch y phyd, a symbolen y phyd, ynghylch gobaith a guedi'r Argluyd, ynghylch Cariad perphaith, a'r deg gorchymyn, Canys phyd, gobaith, a chariad perphaith ynt y rhinuedau o feun yrhai (megis ý nodod Saint Austin) y cynuysuyd yn yr scruthur lā uir doethineb dyn, Guedi efa ardod duyd hefyd draethiad ynghylch Gorchmynion yr Egluys a gynghylch y Sacrafenau yn gymuys, Canys megis ag ni al y rhinuedau uchod sefyl yn iaun, heb gadu yn dyfal y facrafenau a gorchmynion yr Egluys fel y druy'r ardodiad yma y rydys yn i cyssultu ynomi, a phē darpho i cyssultu, y mae'ntuy guedi i cadarnhau ai ymuanegu, a chuedi yn duyn i berphaith ruyd O heruyd hyny ni a draùliasom y darn gynta o'r lyfr yn tracthu ynghylch dosparthu y pethau sy'n perthyny at doethineb.

Y rhan dyuaeth af sy'n perthynyn at gyfiaunder a cuedi i gynuys meun duy ran, sef yu go-

chel drug a guna da, hon a d'anglafar fyrr o airiau, O blegyd nid yu digon (megis ag ymae Saint Chrisostomus yn testiolaethu) i gael salfadigaeth, ochel guneythyr drug odigerth hefyd yn bod yn medianu daioni ag yn arfer rhinued, ynghylch yrhain, darfu ini daclysu rhai penodau i bob un o'r duy ran, yrhain sy'n perthynu yn bendifade i gadu rhagoriaeth rhung drug a da, Tobias doeth a chyfiaunsy'n cynhuysso yn fyr galu a maured cyflaunder yn holaul, pen ymae'n rhybydio i fab, ag hefyd yntho ef hol blant duu, bob un ar i ben i hun, gan dyuaedyd y gairiau yma, fy mab nag ofna, yn uir yrydym yn buu yn dlaudion, eythr ymae ini lauer o bethau daionys, os ny ni a ofnun duu, ag ymurthod rhag pob pechod, a guneythyr da, fely yrydym yn dyscu yn holaul beth syd dyledys ar bob Cristiō, yrhun nid yn unig yn gofyn phyd eythr hefyd ymae'n gofyn buched a adyscuyd druy doethineb a chyfiaunder Cristionogaul, Canys calon doeth a phuylog (med yr yscruthur lan) a'murthyd a pechodau, ag a gynydaf meun guaithredoed cyfiaunder.

Ond rhag ini bassio y terfynau gan fod yn bryd fod yn fyrr, ni a diuedun y'r a thrauaeth yma o adysceidiaeth Cristonagaul, ag yn bendifade o heruyd yrhai guirion anyscedig ny ni a orphenun y cubul ag un gair, o'enlesiastes,

gan i gau aiselio a sel, souyd dyn, fely ni a diuedun felyn, ofna duu, a chadu i orchmynyon, hyn yu sylued pob dyn.

---

## Rybyd i'r darleur?

NA ryfeda dim (darleur haudgar) diainc lauer o faiau urth brinthio y lyfryma, canys nid oed y preintiur yn dealt na'r iaith na'r lytherenau ne'r Chareterau: hefyd yr ydoed mor urthnysig ag mor gyndyn, ie mor benchuiban arol natur i ulad, megis na odefau moi gerydu na daugio i faiau, heb lau hyny gan ystyrio fod amryu o Orthographiau arferedig yn ynmysc ni, yn enuedig ynghylch dublu'r cydsyniaid, rhai yn arfer. dd. ll. a uu, erail ochel i harfer yn rhy fynych, sy'n cyssultu h. gida phod un o honynt yn le i dyblu, ag o heruyd (i'm tybi) fod yn urthyn ag yn anuedaid, yr arfer uchod, guelais yn da galyn yr hybarchys a'r ardercaug athrau D. Gryfyth Robert Canon theologaid o fam Egluys Dinas Mylen, gur a haudau glod a maul traguydaul, nid yn unig o heruyd i aml rinuedau: eythr hefyd ermuyn i disc ai uybodaeth ag yn bendifade yn yr iaith gymeraeg, hun yn i lifr o iaun yscrifenydiaeth sy'n athrau y yn le du blu'r, y ly-

*thyrenau, rodipric ne dittil dan bob un yn y mod y yma, d dd. l. ll. u uu, phyn le ff. druy galyn yr hebraiaid, yrhain sy'n arfer yr un pric, yn le dublu lythyrenau, yrhun ymae'ntuy yn i alu Dages.*

*Hefyd heb lau hyny, na ryfeda naduy yn dublu. n. megis yn y gairiau yma, tyn, hyn, guyn, arhai cyphelib, canys gueloed (i'm tybi) rodiacen yucb i phen, pen fytho rhaid i estenunai dublu.*

*Yn diuaethaf na ryfeda fymod ryu Amser yn benthygio gairiau (pen fytho eisiau) gen y ladin. canys yr hen gymru oedynt yn arfer yrun peth, megis ygelir gueled yn haud, darfod tynu'rhan fuya o'n iaith ni alau o'r ladin, yr hun bethy mae'r Athrau uchod yn idangos yn i lyfr o gyfiachydiaeth, Guydor, d. dd. l. ll. u. unph.*



**FINIS.**



